

BEDYDDFA O FEWN CATACOMB ST. PONTIANUS.

*(Gwel tud. 95. 120.)*

Y

# WEITHRED O FEDYDDIO,

NEU YMCHWILIAD I

# DDULL BEDYDD:

GYDA SYLWADAU AR

DDEILIAID, HANESIAETH, A DYBEN BEDYDD.

GAN

Y PARCH. H. JONES, D.D.,

LLANGOLLEN.

---

'Αληθεύοντες ἐν ἀγάπῃ. (EPHES. IV. 15.)

---

ARGRAFFIAD NEWYDD GYDAG YCHWANEGIADAU.

LLANGOLLEN:

ARGRAFFWYD GAN W. WILLIAMS,

SWYDDFA'R "GREAL" A'R "ATHRAW."

1882.

CYFLWYNIR Y GYFROL HON

AR

"DDULL, DEILIAID, HANESIAETH, A DYBEN BEDYDD,"

I

**Fyfyrwyr Athrofa Llangollen,**

O'R DECHREUAD HYD YN AWR:

ER COF AM UGAIN MLYNEDD O GYDYMDRECH MEWN

EFRYDIAETH GYSSEGREDIG,

AC FEL ARWYDD O SERCH A PHARCH DIFFUANT

EU BRAWD "YN NHEYRNAS AC AMYNEDD IESU GRIST,"

YR AWDWR.

# RHAGYMADRODD I'R ARGRAFFIAD CYNTAF.

---

YSTYRIA Awdwr y Traethawd canlynol fod yr ordinhad o fedydd yn sefydliad pwysig parhaol, a bod ei gweinyddu yn ol dysgeidiaeth y commisiwn, ac ystyr y gair BAPTIZO, yn anhebgorol er cyflawni gorchymyn Crist; ac felly fod cael gafael ar y gwirionedd am fedydd o bwys mawr.

Wrth gyfansoddi y gwaith hwn, fe ymgynghorodd â gweithiau pawb o fewn ei gyrhaedd, ag a dueddent i'w gynnorthwyo yn ei ymchwiliadau; a chydnebydd ei rwymau i lawer o honynt.

Pan tua hanner ei gyfansoddi, daeth gwaith dysgedig Dr. Conant,—yr hwn sydd yn addurn i'n henwad yn America, ac yn un o ddysgedigion penaf yr oes bresennol—ar "THE MEANING AND USE OF BAPTIZEIN," i'w law—gwaith gorchestol, ag sydd yn dihysbyddu y pwnc o ran cael awdurdodau dros yr ystyr a briodolwn i BAPTIZO, a'r hwn a ddylai fod yn llaw pob efrydydd trwy'r byd. Mae yr Awdwr yn ddyledus i waith Dr. Conant am amryw o'r engreifftiau lle y defnyddir BAPTIZO yn y prif awduron Groegaidd, ond yn benaf am y dyfyniadau o'r Tadau Eglwysig. Mae yn ddyledus hefyd i weithiau Dr. Gale, Dr. Wall, Dr. Ripley, Dr. Cox, yr Anrhydeddus B. W. Noel, &c., &c., am lawer o'r engreifftiau a ddygir yn mlaen i brofi ac egluro ystyron BAPTO a BAPTIZO.

Bu yr Awdwr lawer gwaith yn teimlo anghen math o lawlyfr ar gynllun yr un canlynol ar y *weithred o fedyddio*, helaethach a manylach na'r llyfrau a gyhoeddir yn gyffredin ar y ganghen hon. Y teimlad yna a achlysurodd ysgrifeniad y Traethawd hwn. Ei ofid yw na fuasai yn gallu gweithio y cynllun allan yn fwy perffaith.

Mae llawer o draethodau galluog ar fedydd wedi cael eu cyhoeddi yn ddiweddar yn yr iaith Gymraeg, ond ystyria yr Awdwr y gall yr un canlynol hefyd wneyd ei ran i

egluro ac amddiffyn y gwirionedd; a hydera na fydd yn annerbyniol gan ei frodyr a'i gydwladwyr, fel cynnyg tuag at ddwyn i derfyniad yr annghydfod ag sydd yn cynhyrfu eglwys Dduw.

Mae rhai ymadroddion yn y llyfr ag y buasai yn well ganddo beidio eu defnyddio, megys "bedyddio trwy drochiad," a'r cyffelyb: teimla fod y fath ymadroddion yn anmhriodol, ond defnyddiai hwynt o herwydd llafar gwlad, rhag i'r darllenydd gamgymmeryd ei feddwl.

Dichon yr ystyrir y Traethawd hwn gan rai yn ymwneyd gormod â beirniadaeth ar *eiriau*, ac yn meddu arddull rhy ysgolheigaidd; ond dylid cofio mai *beirniadaeth ar air* ydyw yn broffesedig; a hefyd, fod llawer o efrydwyr craffus a meddylgar yn ein cynnulleidfaoedd a'n hysgolion Sabbathol, ag ydynt yn gallu gwerthfawrogi beirniadaeth drwyadl, y rhai sydd yn dysgwyl cael rheswm boddhaol dros bob gosodiad. Hydera yr Awdwr na fydd y Traethawd hwn yn annerbyniol gan y cyfryw, ac y talant sylw ystyriol i'w osodiadau cyn eu gwrthod. Gobeithia yr un pryd y bydd i'r mwyaf anllythyrenog ei gael yn eglur a darllenadwy.

Hydera yr Awdwr y bydd i'r adran yn y Traethawd ar y "Cyfieithiad Syriaeg" chwalu y tywyllwch a geisir ei daflu ar ystyr y gair BAPTIZO, oddiwrth y ferf Syriaeg ܥܡܕ *(amad)*. Ymddengys iddo ef fod y prawf dros fedydd trwy drochiad oddiwrth y gair Syriaeg am fedydd yn un o'r rhai cryfaf.

Ysgrifenwyd y Traethawd o dan argyhoeddiad dwys o *bwysigrwydd* y pwnc, ac o *wirionedd* yr ochr a amddiffyna. Nid ydyw yr Awdwr yn ymwybodol ei fod wedi gwneyd cam â'r pwnc trwy osgoi un anhawsdra, na gwyrdroi un wrthddadl; a gobeithia nad oes ynddo ddim ag sydd yn groes i'r boneddigeiddrwydd a'r addfwynder a ddylai nodweddu canlynwyr yr Oen. Yr oll a geisia yw darlleniad ystyriol a diragfarn o'r gwaith. "Pryn y gwir, ac na werth ef." "Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd."

HUGH JONES.

*Llangollen*, *Mai*, 1863.

# RHAGYMADRODD I'R AIL ARGRAFFIAD.

---

WRTH ddwyn allan ail argraffiad o'r WEITHRED O FEDYDDIO, nid oes gan yr Awdwr ond ychydig i'w ychwanegu at yr hyn a ddywedodd yn y Rhagymadrodd i'r argraffiad blaenorol.

Dymuna, modd bynag, ddadgan ei deimlad diolchgar am y derbyniad parchus a roddwyd i'r gwaith ar ei ymddangosiad cyntaf gan y wasg enwadol, gan yr eglwysi Bedyddiedig, a chan ei frodyr yn y weinidogaeth, yn cynnwys rhai o brif feirniaid ac ysgolheigion Beiblaidd yr oes, megys Dr. Owen, o Brifathrofa Jewell, America; a Dr. Benjamin Davies, o Goleg Regent's Park, Llundain.

Yr oedd y gyfrol allan o argraffiad er's tua deng mlynedd. Gwneid ymholiadau achlysurol yn barhaus am dani. Nid argraffwyd ond 1,200 o gopiau o'r gwaith y tro cyntaf; er y pryd hwnw mae cenedl arall o ddarllenwyr wedi codi, y rhai ydynt awyddus am oleuni ac arweiniad. Mae pwysigrwydd Bedydd hefyd yr un, ac amgylchiadau Dadl Bedydd yn gyffelyb i'r hyn ydoedd ugain mlynedd yn ol. Yn ngwyneb yr ystyriaethau hyn, barnwyd y byddai dwyn allan argraffiad newydd o'r gwaith yn wasanaeth i'r gwirionedd.

Fe welir fod yr argraffiad hwn yn ymwneyd â llawer o bynciau, ag na chyffyrddid â hwynt yn yr argraffiad blaenorol, megys Bedydd y Proselytiaid—Parhad Bedydd—Deiliaid Bedydd—y Gwrthddadleuon Duwinyddol a Hanesyddol yn erbyn Golygiadau y Bedyddwyr—Dyben Bedydd—Bedydd er Maddeuant Pechodau, &c., &c.

Gadawyd allan o'r argraffiad hwn y dyfyniadau Groeg ar waelod y ddalen, er mwyn ennill lle i bethau ereill; ond dodwyd y geiriau Groeg mewn dadl rhwng cromfachau yn y cyfieithiad o'r dyfyniadau crybwylledig.

Hydera yr Awdwr y bydd y Pennodau ar Ddyben Bedydd—Alexander Campbell ac Athrawiaeth Bedydd—Hanesiaeth Eglwysig Foreuol a Chyfodiad Bedydd Babanod—Tystiolaeth y Catacombs i Hynafiaeth Taenelliad a Bedydd Babanod, &c., o ddyddordeb neillduol i'r darllenydd, ac yn gyfarwyddyd pwysig iddo yn ei ymchwiliadau.

Gobeithia yr Awdwr y bydd yr adran ar "Y Tadau Eglwysig a Dechreuad Bedydd Babanod," yn foddion i osod y pwnc hwn allan yn deg o flaen y darllenydd. Er fod yr ymdriniaeth âg ef yn y gyfrol hon o anghenrheidrwydd yn fyr, eto y mae yn cynnwys yr holl ffeithiau, mor bell ag y maent yn adnabyddus yn awr. Mae annhegwch amddiffynwyr Bedydd Babanod wrth ymwneyd â Thystiolaeth y Tadau, yn neillduol felly eiddo Origen, yn hynod o ofidus. Cedwir oddiwrth y darllenydd ystyriaethau a roddent liw gwahanol iawn ar dystiolaeth Origen i'r hyn a briodolant hwy iddo; a gellir dweyd yr un peth mewn rhan am eiriau Justin Ferthyr.

Fe welir mai *Traethawd* ar Ddull, Deiliaid, Hanesiaeth, a Dyben Bedydd yw y gyfrol hon, ac nid Dadl â neb, nac Atebiad i unrhyw awdwr neillduol. Mae yn wir ei fod yn Ddadl yn erbyn yr hyn a ystyrir yn gyfeiliornad, ac yn Atebiad i'r hyn a fernir yn gamddarluniad o'r gwirionedd; ond nid yn erbyn un awdwr neillduol, nac mewn atebiad i un llyfr neillduol, yr ysgrifenwyd ef. *A phethau, ac nid â phersonau, y mae a fyno y llyfr. Ei amcan ydyw rhoddi dadganiad teg a diduedd, yn ngoleuni ymchwiliadau a beirniadaeth ysgolheigion Beiblaidd yr oes, o'r gwirionedd am yr Ordinhad o Fedydd yn ei holl agweddau.* Pa mor bell y llwyddwyd i wneyd hyn, y darllenydd sydd i farnu. Gwnaeth yr Awdwr ei oreu, beth bynag, i amddiffyn gwirionedd âg "arfau cyfiawnder ar ddeheu ac ar aswy." (2 Cor. vi. 7.)

Yn mrwydr fawr egwyddorion y blynyddau dyfodol, rhwng Rhesymoliaeth a Dadguddiad, rhwng Traddodiad ac Ysgrythyr, a rhwng Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth, fe ddaw pwysigrwydd egwyddorion y Bedyddwyr yn fwy i'r amlwg yn barhaus. Nis gellir gwrthsefyll llygriadau Pabyddiaeth yn effeithiol, ond oddiar safle y Bedyddwyr. Fe deimlir hyny yn fwy dwys, ac fe gydnabyddir hyny yn fwy cyffredinol, yn ol fel y byddo angerddoldeb yr ymgyrch yn cynnyddu. Dryllir pob arf yn y frwydr hon, ond "cleddyf yr ysbryd, yr hwn yw gair Duw." (Eph. vi. 17.)

Bellach, ddarllenydd, bydd wych. "A'r Arglwydd a roddo i ti ddeall yn mhob peth." (2 Tim. ii. 7.)

HUGH JONES.

*Llangollen, Gorphenaf,* 1882.

# Y CYNNWYSIAD.

---

## RHAN I.

TUDAL.

Nodiadau Rhagarweiniol ........ 1

Pennod I.—Dwyfoldeb Bedydd ........ 2

Pennod II.—Parhad Bedydd ........ 10

Pennod III.—Gorchymynion Moesol a Phendant ........ 15

## RHAN II.—Y WEITHRED O FEDYDDIO.

### DOSRAN I.—Y PROFION.

Pennod I.—Bapto yn yr Ysgrifau Clasurol a Chyssegredig ........ 23

Pennod II.—Baptizo yn yr Ysgrifau Clasurol, y LXX., a Josephus ........ 30

Pennod III.—Baptizo yn yr Efengylau ........ 42

Pennod IV.—Baptizo yn yr Actau ........ 58

Pennod V.—Baptizo yn yr Epistolau ........ 71

Pennod VI.—Hanesiaeth Gweinyddiad Bedydd ........ 87

Pennod VII.—Hen Fedyddfanau (*Ancient Baptisteries*) ........ 110

## RHAN II.—Y WEITHRED O FEDYDDIO.

### DOSRAN II.—Y GWRTHDDADLEUON.

I.—Y Geiriau "Dyfroedd Lawer" (Ioan iii. 23.) ........ 122

II.—Hanes Bedyddiad Paul ........ 127

III.—Bedydd yr Ysbryd Glân ........ 129

IV.—Y defnydd a wneir o Bapto yn yr Ysgrythyrau Groegaidd ........ 132

V.—Yr Wrthddadl Americanaidd Newydd a Therfynol ........ 137

TUDAL.

VI.—Y Golchiadau Iuddewig ..... 150

VII.—Bedydd a Phuredigaeth yn gyfystyr ..... 155

VIII.—Gwyleidd-dra Gwragedd Dwyreiniol ..... 160

IX.—Justin Ferthyr ar y Diafol yn Dynwared Bedydd ..... 163

X.—Y Gair Syriaeg am Fedyddio ..... 166

## RHAN III.—DEILIAID BEDYDD.

### DOSRAN I.—DYSGEIDIAETH Y TESTAMENT NEWYDD AR Y DEILIAID.

Pennod I.—Ioan Fedyddiwr a'i Weinidogaeth ..... 178

Pen. II.—Mai Credinwyr yw unig Ddeiliaid Bedydd ..... 190

## RHAN III.—DEILIAID BEDYDD.

### DOSRAN II.—Y GWRTHDDADLEUON.

I.—Y Gwrthddadleuon Duwinyddol ..... 206

§ I.—Unrhywiaeth Eglwys Dduw yn Mhob Oes ..... 206

§ II.—Bedydd wedi dyfod yn lle Enwaediad ..... 208

§ III.—Cyfammod Abraham ..... 209

§ IV.—Crist yn Bendithio Plant Bychain ..... 212

§ V.—Bedyddiad Teuluoedd ..... 213

§ VI.—Y Plant yn Santaidd ..... 216

§ VII.—Plant yn yr Eglwysi Apostolaidd ..... 218

§ VIII.—Cymmundeb Gwragedd ..... 219

II.—Y Gwrthddadleuon Hanesyddol ..... 221

§ I.—Hanesiaeth Eglwysig a Hynafiaeth Bedydd Babanod ..... 221

Tystiolaeth Justin Ferthyr—Irenæus—Clement o Alexandria—Tertullian—Origen—Cyprian ..... 221—233

§ II.—Tystiolaeth y Catacombs i Hynafiaeth Bedydd Babanod ..... 233—236

RHAN IV.—DYBEN A PHWYSIGRWYDD BEDYDD... 242

## ATTODIAD.

TUDAL.
I.—Alexander Campbell ar Ddyben Bedydd .... 259
II.—Bedydd a Chymmundeb .... 275
III.—Ystadegau ar Leihad Bedydd Babanod yn America.... 281
Dangoseg.... 284
Taflen o Ysgrythyrau .... 287

---

# RHESTR O'R DARLUNIAU.

Bedyddfa o fewn Catacomb St. Pontianus (O flaen y wyneb-ddalen.)... 94, 95. 119
Mur-ddarlun *(fresco)* o Fedydd Crist, Canrif V. .... 95
Bedydd yn Lloegr yn Canrif XIV. .... 97
Bedydd-dŷ Pisa.... 111
Bedydd-dŷ Florence .... 114
Bedydd Crist, Canrif XIV.... 119

# Y WEITHRED O FEDYDDIO.

## RHAN I.

### NODIADAU RHAGARWEINIOL.

Nis gall un darllenydd ystyriol o'r Testament Newydd beidio sylwi ar y lle amlwg a roddir ynddo i fedydd. Baich gweinidogaeth Ioan Fedyddiwr oedd pregethu edifeirwch fel cymhwysder i fyned i mewn i deyrnas Dduw, a bedyddio yr edifeiriol fel arwyddlun o'u genedigaeth iddi. (Mat. iii. 2. 6. Marc i. 4.) Ymostyngodd yr Arglwydd Iesu ei hunan i'r ordinhad o fedydd, a dyna yr adeg a ddewisodd y Tad i'w ddadguddio ef i'r byd. (Mat. iii. 13—17. Ioan i. 31—33.) Mae bedydd yn cael ei orchymyn yn nghommisiwn yr Iesu (Mat. xxviii. 19, 20. Marc xvi. 15, 16.); bedyddid y dychweledigion yn yr oes apostolaidd yn mhob man (Act. ii. 21. viii. 12. 38. ix. 18. x. 48. xvi. 15. 33. xviii. 8., &c.); cyferchir yr eglwysi apostolaidd fel rhai bedyddiedig (Rhuf. vi. 4. 1 Cor. i. 13. Gal. iii. 27. Col. ii. 12., &c.); fel nas gall neb ammheu ei gyhoeddusrwydd cyntefig, fel rhan o ddysgeidiaeth yr apostolion, ac o'r ufydd-dod gofynol oddiar law y dychweledigion. Yn hytrach na'r ffaith o'i fodolaeth fel rhan o'r grefydd Gristionogol ar ei chychwyniad cyntaf, y pethau tebycaf i ymgynnyg i feddwl y darllenydd yw ystyriaethau fel y rhai canlynol: A oedd bedydd yn sefydliad Dwyfol, neu yn un o ychwanegiadau diawdurdod yr Iuddewon, ac yn cael ei fabwysiadu gan Ioan a Christ fel math o ymostyngiad i drefn pethau fel yr ydoedd ar y pryd? A yw y fath ordinhad i barhau hyd ddiwedd y byd, ynte a oedd hi i derfynu ar ol disgyniad yr Ysbryd Glân, a derbyniad y Cenedloedd i'r eglwys? Gan nad beth a ddysgir am Ddwyfoldeb ei sefydliad a meithder ei barhad, a ydyw o bwys, wedi'r cwbl, i gadw yn gaeth at y llythyren yn ei weinyddiad? Ni a ymdrechwn ateb y gofyniadau hyn yn y Sylwadau Rhagarweiniol yn y tair pennod a ganlyn.

# PENNOD I.

## DWYFOLDEB BEDYDD.

"Bedydd Ioan, o ba le yr ydoedd? ai o'r nef ai o ddynion?"—Mat. xxi. 25.

---

*Bedydd Ioan yn Ordinhad Newydd a Dwyfol—Barn y Doctoriaid Hammond, Lightfoot, a Wall am ei darddiad—Gwendid y profion dros henafiaeth Bedydd y Proselytiaid—Y gwahaniaeth rhwng Bedydd Ioan a Bedydd y Proselytiaid—Nodiad ar dystiolaeth dybiedig y Mishna i'r ddefod.*

Mae yn amlwg fod Ioan ei hun a'r efengylwyr yn seilio ei fedydd ar awdurdod Ddwyfol:—"Yr oedd gwr wedi ei anfon oddiwrth Dduw, a'i enw Ioan." "A Ioan a dystiolaethodd, gan ddywedyd, Mi a welais yr Ysbryd yn disgyn megys colomen, o'r nef, ac efe a arosodd arno ef. A myfi nid adwaenwn ef; eithr yr hwn a'm hanfonodd i fedyddio â dwfr, efe a ddywedodd wrthyf, Ar yr hwn y gwelych yr Ysbryd yn disgyn, ac yn aros arno, hwnw yw yr un sydd yn bedyddio â'r Ysbryd Glân." (Ioan i. 6. 32, 33.) "Eithr y Pharisead a'r cyfreithwyr yn eu herbyn eu hunain a ddiystyrasant gynghor Duw, heb eu bedyddio ganddo." (Luc vii. 30.)

Mae'n eglur hefyd fod ei fedydd yn beth newydd yn mhlith yr Iuddewon, o herwydd y sylw a dynai, a'r cyffro a achosai. Deffroai weinidogaeth Ioan y wlad; ymgyrchai tyrfaoedd i'w wrando; a bedyddiai efe yn yr Iorddonen y rhai a broffesent edifeirwch, ac a ymrwyment i ogoneddu Duw yn ol llaw. Ystyriai pennaethiaid y genedl nad oedd gan neb hawl i bregethu athrawiaethau newyddion, a dwyn i mewn ordinhadau newyddion, oddi eithr y Messiah, neu Elias, (Mal. iv. 5.) neu brophwyd neillduol, (gan gyfeirio, mae'n debyg, at Deut. xviii. 15.) anfonedig gan Dduw at y fath orchwyl; am hyny, anfonodd awdurdodau y Sanhedrim ddirprwyaeth ato i ofyn iddo, "Pwy wyt ti?" "Paham gan hyny yr wyt ti yn bedyddio, onid ydwyt ti na'r Crist, nac Elias, na'r prophwyd?" (Ioan i. 22—25.) Y casgliad naturiol oddiwrth y pethau hyn, ydyw, fod ei weinidogaeth yn ddylanwadol, a'r bedydd a weinyddai yn ordinhad newydd.

Mae dynion enwog a dysgedig i'w cael, modd bynag, y rhai a ddysgant yn wahanol. Dywed Dr. Hammond, Dr. Lightfoot, Dr. Wall, ac ereill, "Fod bedydd wedi bod mewn hir arferiad yn mhlith yr Iuddewon cyn dyfodiad Crist, a'u bod hwy wrth dderbyn proselytiaid i'w plith, yn eu bedyddio yn wŷr, gwragedd, a phlant; a bod Ioan a Crist wedi mabwysiadu y ddefod hon oddi wrthynt hwy, yn ol fel yr arferid hi yn eu plith hwy, ac felly nad oedd eisieu gorchymyn nac esiampl i fedyddio babanod, gan fod pawb yn gwybod fod babanod yn cael eu bedyddio gyda'u rhieni; a bod y ffaith fod bedydd yn cael son am dano yn yr efengylau fel peth adnabyddus, yn rhagdybied bodolaeth bedydd proselytiaid cyn dyfodiad Crist." (*Dr. Lightfoot's Horæ Hebraicae*, Mat. iii. 6., *Dr. Wall's Hist. of Inf. Baptism, vol.* i. *Introduction*, *Dr. Hammond's Commentary*, Mat. iii.)

Fe sylwa y darllenydd fod yr wrthddadl hon yn cydnabod nad oes son o gwbl am fedydd babanod yn y Beibl, ac yn haeru nad oes eisieu awdurdod ysgrythyrol drosto, yr hyn sydd yn hollol groes i egwyddor sylfaenol Protestaniaeth. Gyda golwg ar fod cyfeiriad at fedydd yn yr efengylau fel peth adnabyddus i'r darllenydd, dylid cofio fod yr efengylau wedi cael eu hysgrifenu amser maith ar ol i'r hyn a gofnodir ynddynt gymmeryd lle, pryd yr oedd hanes Ioan a Christ yn berffaith hysbys i'r eglwysi, a phan y gweinyddid bedydd yn fynych yn ngwahanol barthau yr ymerodraeth Rufeinig.

Cymmerir yn ganiatâol gan y rhai a ddysgant henafiaeth bedydd proselytiaid, fod yr Arglwydd Iesu yn cyfeirio ato yn ei ymddyddan â Nicodemus, pan y dywedai, "Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." (Ioan iii. 5.) Wrth gyfeirio at ailenedigaeth, cyfeiriai yr Iesu, medd y beirniaid hyn, at fedydd y proselytiaid, a honant mai yn y goleuni yna y deallai Nicodemus y geiriau. "Yr oll oedd yn newydd yn y dywediad yna o eiddo ein Hiachawdwr, oedd hyn, (ebe Dr. Wall): fe wyddai yr Iuddewon fod yn rhaid i bob Cenedl-ddyn a ddeuai i mewn i deyrnas Dduw gael ei aileni; ond y mae ein Hiachawdwr yn sicrhau Nicodemus fod yn rhaid i bob dyn, bydded Iuddew neu Genedl-ddyn, gael ei aileni felly." (*Dr. Wall's Hist. of Inf. Bapt. vol.* i. *p.* 32. *Oxford*, 1836. *Dr. Lightfoot, on John* iii.) Ond yr oedd gan Nicodemus well goleuni o lawer o fewn ei gyrhaedd i ddangos iddo wir natur ailenedigaeth, nag a ellid dybied oddiwrth y ddysgeidiaeth uchod; sef y Salmau, a'r prophwydi, a gweinidogaeth Ioan Fedyddiwr (Salm li. 10, 11. Ezec. xviii. 30, 31. xxxvi. 26, 27. Jer. xxxi. 33, 34. Mat. iii. 8, 9.): ac y mae yn llawer mwy rhesymol i ni gredu fod Iesu Grist yn cyfeirio at fedydd Ioan wrth son am "eni o ddwfr," nag at fedydd y proselytiaid, am yr hwn mae y Beibl yn ddystaw. Dylasai Nicodemus, fel dysgawdwr yn Israel, fod yn gyfarwydd âg athrawiaeth

yr ailenedigaeth, gan ei bod yn cael ei dysgu yn yr Hen Destament, a'i phregethu gan Ioan Fedyddiwr.

Ond ymofynwn BETH YW NATUR Y PRAWF O HENAFIAETH BEDYDD PROSELYTIAID.

1. *Nid oes son am dano yn yr Hen Destament.*

Fe sonia yr Hen Destament am amryw ag y tybir eu bod yn broselytiaid, megys Jethro, tad yn nghyfraith Moses (Ecsod. xviii. 6.), Rahab, Ruth (Ruth i. 16.), a llawer o Iuddewon yn nyddiau Mordecai ac Esther (Esther viii. 17.), ond ni sonir air am eu bedydd. Yr un gyfraith oedd i'r dyeithr-ddyn ac i'r Israeliaid, gyda golwg ar fwyta y pasg (Ecsod. xii. 48, 49.), ac felly nid oedd eisieu bedyddio Cenedl-ddyn yn fwy na'r Iuddew mewn trefn i'w fwyta.

2. *Ni sonir am dano yn yr Apocrypha.*

Ystyrir fod llyfrau yr Apocrypha wedi cael eu hysgrifenu yn y cyfwng rhwng y ddau Destament; ond er fod son ynddo am Genedloedd yn dyfod yn broselytiaid i'r grefydd Iuddewig, ac yn cael eu henwaedu, ni sonir air am eu bedydd. (Judith xiv. 6.)

3. *Nid oes son am dano yn y Testament Newydd.*

Sonir yn y Testament Newydd am broselytiaid, ac am sêl y Phariseaid yn gwneyd proselytiaid, ond ni sonir air am eu derbyn trwy fedydd. (Mat. xxiii. 15. Act. ii. 10. vi. 5. xiii. 43.)

4. *Nid oes son am dano mewn awdwyr Iuddewig yn yr oes apostolaidd.*

Yr oedd Iuddew o'r enw *Philo* yn byw yn nghanol y ganrif gyntaf yn Alexandria, yr hwn a ysgrifenodd am broselytiaid, a'u derbyniad i blith yr Iuddewon, ond nid oes air yn ei ysgrifeniadau yn nghylch bedydd proselytiaid.

Sonia *Josephus*, yr hwn oedd yn byw ychydig ar ol Philo, ac a fu farw tua diwedd y ganrif gyntaf, am lawer o broselytiaid i'r grefydd Iuddewig, ond nid ydyw yn crybwyll gair am eu bedydd; dywed fod yr Idumeaid wedi dyfod yn Iuddewon trwy gymmeryd eu henwaedu; sonia am Helena, brenines Adiabene, (rhan o Assyria, i'r Dwyrain o'r afon Tigris,) a'i mab Izates, yn cofleidio y grefydd Iuddewig, ond nid ydyw yn crybwyll gair am fedydd yr un o honynt, na'r un proselyt arall. *(Hynaf. Llyfr* xx. *pen.* ii. 3, 4.*)*

5. *Nid oes gyfeiriad ato yn Mishna yr Iuddewon.*

Casgliad yw hwn o holl draddodiadau yr Iuddewon, y rhai a draddodasid ac a drosglwyddasid o'r naill oes i'r llall, ac a ysgrifenwyd tua'r flwyddyn A.D. 220, gan Rabbi Judah, y Santaidd, yn llyfr o'r enw hwn, er mwyn eu cadw rhag myned ar goll. Ond er ei fod

yn ymwneyd â phob peth cyssylltiedig â'r ddeddf a thraddodiadau y tadau, nis gellir profi fod cyfeiriad eglur a diammheuol ynddo at fedydd proselytiaid.

6. *Gall cyfeiriad Arrian at y rhai bedyddiedig ddynodi Cristionogion.* Tybir gan rai fod cyfeiriad at fedydd proselytiaid yn ngwaith yr athronydd Arrian. Yr oedd Arrian yn rhaglaw Cappadocia tua'r flwyddyn A.D. 150, a cheir y frawddeg ganlynol yn un o'i ysgrifeniadau :—"A phan y cyfarfyddom âg un yn gogwyddo at y ddwy ochr, arferwn ddweyd, 'Nid Iuddew yw hwn, ond rhagrithiwr.' Ond pan y gwisga un wir gymmeriad un a gafodd ei drochi *(tou bebammenou)*, ac a wnaeth ei ddewisiad, yna y mae efe mewn gwirionedd, ac yn cael ei gydnabod, yn Iuddew." Gwna y nodiadau canlynol o eiddo Dr. Jennings, symmud ymaith yr anhawsderau ag sydd yn nglyn â'r frawddeg hon :—

"Nid oedd dim yn fwy cyffredin (eb efe,) nag i baganiaid gamgymmeryd Iuddewon a Christionogion yn lle eu gilydd. Hyd y nod Ffestus, yr hwn a fuasai am dymhor yn rhaglaw Judea, a ymddangosai i gymmeryd y Cristionogion yn lle plaid o Iuddewon. (Act. xxv. 19, 20.) Sonia Suetonius am wrthryfel o eiddo yr Iuddewon, pan oedd un Crist (eb efe,) yn eu hannog yn mlaen *(impulsore Chresto)*. Ac y mae yn dra thebygol fod Arrian yn golygu y Cristionogion yn y frawddeg a grybwyllwyd, oblegyd fe ddeuai llawer yn ei amser ef yn broselytiaid at Gristionogaeth, tra mai ychydig, os neb, a ddeuent yn broselytiaid at Iuddewiaeth, gan fod yr Iuddewon, y rhai a wasgarasid yn mhlith yr holl Genedloedd, yn cael eu gorthrymu a'u dirmygu yn mhob lle. Yn mhellach, pe buasai yn crybwyll am broselytiaeth at Iuddewiaeth, y mae yn dra thebygol y buasai yn crybwyll am eu henwaediad, am yr hyn y dirmygai y paganiaid hwynt, yn hytrach nag am eu bedydd, yr hwn nad oedd mor wahanol i rai o'r defodau paganaidd er cyrhaedd puredigaeth." *(Jennings's Jewish Antiquities, pp.* 93, 94. *Ed.* 1825.)

Barna Moses Stuart fod cyfeiriad Arrian at y golchiadau Iuddewig gofynol yn ol deddf Moses, ac nad oes sicrwydd fod y trochiad crybwylledig yn cyfeirio at fedydd proselytiaid. *(Mode of Baptism,* § 8.) Ond pe buasai cyfeiriad diammheuol yn y frawddeg at fedydd proselytiaid, ni fuasai, wedi'r cwbl, ond profi ei fodolaeth yn nghanol yr ail ganrif, yn mhell ar ol dinystr Jerusalem, ac nid yn nyddiau Ioan Fedyddiwr.

7. *Mae y Tadau Cristionogol am y pedair canrif cyntaf yn ddystaw yn ei gylch.*

Yr oedd *Barnabas* yn Iuddew, ac yn gydoeswr â'r apostolion, ac ysgrifenodd yn nghylch defodau Iuddewig a'u harwyddocâd cysgodol; ond ni chyfeiria at yr hyn a elwir bedydd proselytiaid.

Yr oedd *Justin Ferthyr* yn frodor o Samaria, a blodeuodd tua chanol yr ail ganrif; ond er iddo fod yn dadleu â Trypho yr Iuddew yn nghylch Cristionogaeth ac Iuddewiaeth, eto ni sonia o gwbl am fedydd proselytiaid fel defod arweiniol i Iuddewiaeth. Pe buasai bedydd proselytiaid yn bodoli yn nyddiau Justin Ferthyr, mae yn anhawdd gwybod pa fodd y gallasai beidio cyfeirio ato. Yn adran viii. o'i Ddadl gyda Trypho, cawn Trypho yn ei gyhuddo o fod wedi gadael y gwir Dduw trwy gofleidio Cristionogaeth; gan ei gynghori i gofleidio Iuddewiaeth. "Yn gyntaf," ebe efe, "*enwaeder di*, ac yna, yn ol y gorchymyn, bydded i ti gadw y Sabbath, a'r gwyliau, a newydd-loerau Duw, gyda'r hyn oll ag sydd wedi ei ysgrifenu yn y gyfraith; fel, os gwnei, y gelli o bossibl gael trugaredd gyda Duw." Yn adran cxxiii. o'r un Ddadl, dywed Justin, wrth son am broselytiaid:—"Y mae proselyt, *yr hwn a enwaedir er cael ei uno â'ch pobl chwi*, yn dyfod fel un ag sydd wedi ei eni yn eich mysg." Y mae yn anhawdd cyfrif am ddystawrwydd Justin am fedydd yn y cyssylltiadau, os oedd bedydd y proselytiaid mewn arferiad yn ei ddyddiau ef.

Mae y cyfeiriadau tybiedig at y ddefod yn ysgrifeniadau Tertullian, Cyprian, Gregory Nazianzen, a Basil, wedi cael eu dangos gan Dr. Gill ac ereill i fod yn hollol anmherthynasol â'r pwnc, ac yn cyfeirio naill ai at fedydd cysgodol yr Israeliaid yn y Môr Coch, neu at eu hymdrochiadau mynych er cael eu puro oddiwrth aflendid seremoniol.

Ni cheir, mewn gwirionedd, un cyfeiriad eglur a diammheuol ato mewn awdwyr Iuddewig na Christionogol hyd y bedwaredd neu y bummed ganrif. *Yn y llyfr a elwir Talmud Jerusalem, (yr hwn a ysgrifenwyd, yn ol rhai, yn y drydedd ganrif, neu, yn ol ereill, yr hyn sydd yn fwy tebygol, yn nechreu y bummed ganrif,) y ceir y cyfeiriad cyntaf at fedydd proselytiaid.* Cyfeirir ato hefyd yn fynych yn Nhalmud Babilon, yr hwn a ysgrifenwyd tua'r flwyddyn 500 O.C., neu, yn ol ereill, tua dechreu y seithfed ganrif.

Yn awr, y gofyniad yw,—

Pa fodd y gallai y ddefod yma fodoli cyn dyfodiad Crist, a ninnau heb feddu un cyfeiriad sicr at ei bodolaeth am dri neu bedwar can' mlynedd o leiaf ar ol ei ymddangosiad? Yn hytrach na bod Ioan wedi cymmeryd ei fedydd oddiwrth yr Iuddewon, mae'n debycach o lawer i'r Iuddewon gymmeryd eu bedydd hwy oddi wrtho ef, fel yr awgryma Dr. Owen; neu oddiwrth y Cristionogion, fel y crybwylla Dr. Jennings; neu eu bod wedi mabwysiadu y ddefod o herwydd eu syniad am halogrwydd cyffredinol y Cenedl-ddyn yn ei gyflwr paganaidd, fel y tybiai Dr. Gill. Ond y mae rhwystrau anorfod i ni gredu fod Ioan a Christ wedi mabwysiadu bedydd proselytiaid i fod yn ordinhad arweiniol i deyrnas Dduw:—

1. Mae dystawrwydd y Beibl yn condemnio y fath syniad.

Nid oes rhith o brawf fod y fath arferiad mewn bod yn amser Crist a'i apostolion.

2. Nid oedd bedydd proselytiaid yr un peth a bedydd Ioan a Christ.

Mor bell ag y mae trochi yn myned, y mae bedydd proselytiaid yn cadarnhau yr arferiad o drochi, ac yn condemnio taenellu, gan ei fod i gael ei weinyddu mewn afon, ffynnon, neu lyn, lle byddai o leiaf ddeugain *seahs* (neu dri ugain galwyn) o ddwfr, yn yr hwn yr oedd yr holl gorph i gael ei dansuddo. (*Dr. Lightfoot, on* Mat. iii. 6., *Dr. Jennings's Jewish Antiquities, p.* 91., *Dr. Hammond, on* Mat. iii., *Dr. Wall's Hist. of Inf. B., vol.* i. *p.* 7.) Ond yr oedd gwahaniaeth hanfodol rhwng bedydd proselytiaid a bedydd Ioan:—

(1,) Bedyddid proselytiaid a'u plant ar eu derbyniad cyntaf i'r cyfundeb Iuddewig; ond os genid plant drachefn iddynt, ni fedyddid y rhai hyny, na neb o'u hiliogaeth hyd ddiwedd y byd. Yr oedd yn ddihareb gyda'r Rabbiniaid,—"Mae yr hwn a anwyd o rieni bedyddiedig, i gael ei ystyried megys pe buasai ei hunan wedi ei fedyddio." (*Natus baptizati habetur pro baptizato.*) Ond yr oedd bedydd Ioan yn fedydd edifeirwch, ac yn broffes o grefydd bersonol, ac yr oedd rhwymau ar bawb a allent edifarhau, yn rhieni a hiliogaeth, i dalu ufydd-dod iddo. (Mat. iii. 6—10.)

(2,) Yr oedd bedydd proselytiaid yn fwy o ddefod wladol nag o ordinhad grefyddol. Yr oedd yn fath o naturioli dyn o fod yn perthyn i un genedl i fod yn rhan o un arall, yn hytrach na defod grefyddol. Ni weinyddid ef yn enw Duw o gwbl, nac yn enw y Messiah addawedig, ond yn enw y person ei hun, trwy awdurdod y cynghor Iuddewig. Ond yr oedd Ioan a'i apostolion yn bedyddio yn enw y Personau Dwyfol, ac ar sail awdurdod Duw.

(3,) Bedyddio eu hunain yr oedd y proselytiaid; ond y mae bedydd yr efengyl i gael ei weinyddu gan arall, er dangos, mae'n debyg, fel yr awgryma Dr. Toy, fod y bywyd newydd yn cael ei roddi i ddyn gan arall, sef Ysbryd y Duw byw.

3. Mae y Beibl yn cyhoeddi yn bendant fod bedydd Ioan o'r nef.

Tystia yr efengylwyr mai Duw a anfonasai Ioan, a thystia yntau hyny am dano ei hun; a gelwir ei fedydd yn "gynghor Duw." Pe buasai Ioan wedi ei fabwysiadu oddiwrth yr Iuddewon, pa anhawsdra a fuasai i'r Iuddewon ateb Crist pan ofynodd o ba le yr oedd bedydd Ioan? a pha fodd y gellir cyfrif am boblogrwydd Ioan, os hen ddefod ddynol Iuddewig a weinyddai? Ai tybed y buasai Mab Duw yn anrhydeddu defod ddynol fel hyn trwy blygu iddi, a Brenin y nefoedd

ei hun yn cyhoeddi ei foddlonrwydd? Onid yw coleddu y fath syniad yn ddirmyg ar urddas Brenin Seion, ac yn gwrthddweyd tystiolaeth bendant y Beibl? Yr oedd Mab Duw yn condemnio dychymmygion dynion fel rhan o wasanaeth Duw, (Mat. xv. 9. Marc vii. 7.) a deddf Moses hefyd yn gwahardd pob ychwanegiad at ei defodau hithau (Deut. iv. 2. xii. 32. Diar. xxx. 6.); ac nis gallwn dybied y buasai Mab Duw yn ymostwng i'r hyn a gollfarnai ei hun.

Y mae bedydd, gan hyny, o darddiad Dwyfol; Duw a'i happwyntiodd; anrhydeddwyd yr appwyntiad âg ufydd-dod y Messiah; ail gadarnhawyd yr ordinhad yn nghommisiwn Crist i'w apostolion; ac mae y commisiwn hwnw i fod mewn grym hyd ddiwedd y byd, a phresennoldeb grasol y Gwaredwr yn cael ei addaw i'r rhai a gydffurfiant âg ef.

---

## NODIAD YCHWANEGOL.

### MOSES STUART A DR. REYNOLDS AR DYSTIOLAETH DYBIEDIG Y MISHNA I FEDYDD Y PROSELYTIAID.

Dywedwyd yn flaenorol nad oes yr un "cyfeiriad eglur a diammheuol," yn y Mishna at fedydd y proselytiaid, am y rheswm fod rhai yn tybied eu bod yn canfod rhyw fath o gyfeiriad ynddo at y fath ddefod. Gwna Moses Stuard yn ei "*Essay on the Mode of Christian Baptism,*" § 7., ac yn ddiweddarach y Dr. Reynolds, yn ei "*John the Baptist,*" tudal. 281, ddyfynu y dernyn canlynol o'r Mishna, fel prawf o fodolaeth foreuol bedydd proselytiaid:—"Gyda golwg ar broselyt, yr hwn sydd yn dyfod yn broselyt ar hwyr dydd y pasg, dywed dysgyblion Shammai,—'Bedyddier ef, a bwytäed y pasg yn yr hwyr:' ond dysgyblion Hillel a ddywedant, 'Y mae efe, yr hwn sydd newydd gael ei enwaedu, fel yr hwn a ymneilldua oddiwrth (halogrwydd) y bedd.'" (*Pesachim* viii. 8.) Gwna yr ystyriaeth canlynol ddangos gwendid y prawf hwn.

1. Yr oedd y bedydd neu y trochiad hwn (טובל, *tôbel,* o'r ferf TABAL,=*trochi* yw y gair a ddefnyddir,) yn DROCHIAD O HERWYDD AFLENDID SEREMONIOL I UN AG OEDD EISIOES YN BROSELYT, *ac nid yn ddefod arweiniol ar dderbyniad Iuddewiaeth.*

Mae y rheol yn nghylch un ag oedd yn flaenorol wedi cael ei wneyd yn broselyt.

2. Yr oedd trochiad y proselyt y cyfeirir ato yn y dyfyniad, yr un peth a throchiad Israeliaid aflan er eu glanhad. Mae yr holl reol fel y canlyn:—"Gall galarwr fwyta y pasg yn yr hwyr ar ol iddo ymdrochi, ond nid o'r aberthau ereill. Gall un fyddo yn clywed am farwolaeth perthynas, neu a fyddo yn casglu esgyrn un wedi marw, fwyta o'r aberthau ereill ar ol iddo ymdrochi. Gall proselyt, yr hwn

a enwaedwyd yr hwyr o flaen y pasg, yn ol ysgol Shammai, ymdrochi, a bwyta y pasg yn yr hwyr: ond dywed ysgol Hillel, fod yr hwn sydd newydd gael ei enwaedu yn debyg i'r hwn sydd newydd adael y bedd," (hyny yw, yn aflan fel efe, ac yn ddarostyngedig i'r un ddefod o buredigaeth. Num. xix. 16.)

3. Yr oedd dadl yn nghylch digonolrwydd y trochiad hwn fel parotoad i fwyta pethau cyssegredig; tra na fu dadl erioed yn nghylch trochiad proselytiaid fel un o ddefodau rhagarweiniol derbyniad i'r cyfundeb Iuddewig. Ceir y dystiolaeth ganlynol yn Gemara Babilon ar y pwynt hwn:—"Gyda golwg ar un ag sydd wedi ei drochi ond heb ei enwaedu, nid oes gwahaniaeth barn ei fod ef yn wir broselyt. Mae y gwahaniaeth yn unig yn nghylch yr hwn a enwaedwyd, ond sydd heb ei fedyddio."

Yr ydym yn ddyledus i Dr. Toy, un o ysgolheigion Dwyreiniol blaenaf America, am y dyfyniadau hyn a'r cyfieithiad o honynt, yn ei erthygl alluog a dysgedig yn y *Baptist Quarterly* (America), *July*, 1872, *p.* 327, ar "Fedydd Proselytiaid."

Mae yn ymddangos, gan hyny, fod dystawrwydd y Mishna am fedydd proselytiaid yn sicr, ac nad yw awdurdod Moses Stuart a Dr. Reynolds i'r pwynt. Da y gallai yr enwog Lightfoot ychwanegu, er ei holl sêl o blaid henafiaeth bedydd proselytiaid:—"*We acknowledge, indeed, that circumcision was plainly of Divine institution; but by whom baptism, that was inseparable from it (?), was instituted, is* DOUBTFUL." (*Horæ Hebraicae, on* Mat. iii. 6.) Rhyfedd mor hyderus y mae efe ac ereill yn gallu ysgrifenu ar beth mor anmhossibl ei brofi! Gan nad pryd y dechreuodd y ddefod, mae'n eglur nad oedd Lightfoot yn ei hystyried amgen nag ychwanegiad diawdurdod at gyfraith yr Arglwydd.

Gwel yn mhellach erthygl Moses Stuart, yn yr *American Biblical Repository*, *April*, 1833, ac erthygl Dr. Gill, yr hon a geir yn Attodiad i'w Gorph o Dduwinyddiaeth, yn nghyda'r awdwyr y cyfeiriwyd eisioes atynt.

---

# PENNOD II.

## PARHAD BEDYDD.

"Gan ein bod ni yn derbyn teyrnas ddisigl, bydded genym ras, trwy yr hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd."—Heb. xii. 28.

---

*Rhesymau dros gredu yn Mharhad yr Ordinhad—Bedydd yr Ysbryd Glân, a Gwrthddadleuon y Crynwyr.*

O'R braidd y mae eisieu dwyn rhesymau yn mlaen dros gredu yn mharhad yr ordinhad o fedydd, gyda darllenwyr pwyllog ac ystyriol o'r Testament Newydd; eto, gan fod un blaid grefyddol, sef y Crynwyr, yn gwadu ei pharhad, ac unigolion yn mysg enwadau ereill, yn awr ac eilwaith, yn ymddangos fel pe byddent yn cydweled â'r Crynwyr yn hyn, tueddir ni i nodi ychydig o ystyriaethau dros gredu yn mharhad digyfnewid yr ordinhad efengylaidd hon.

1. *Mae yr Arglwydd Iesu wrth addaw yn y commisiwn i fod gyda'i ddysgyblion hyd ddiwedd y byd, yn dysgu fod bedydd i barhau hyd ddiwedd y byd.*

Mae y commisiwn yn galw am i'r eglwys ddysgyblu yr holl Genedloedd, trwy bregethu yr efengyl i bob creadur, a bedyddio y rhai a gredant; ac y mae i barhau, nid yn unig hyd yr adeg pan y byddo yr holl Genedloedd wedi derbyn yr efengyl, ond hyd ddiwedd amser, gan y bydd pob cenedlaeth wrth dyfu i fyny mewn anghen iachawdwriaeth, ac o dan rwymau i broffesu Crist. Tra fyddo gan efengyl waith yn y byd, mae bedydd i barhau; oblegyd y mae yn sefyll yn y commisiwn ar yr un tir a phregethu yr efengyl a dysgu santeiddrwydd ymarferol, ac addewid rasol yr Iesu yn dwyn cyssylltiad â'r oll o hono. Mae bedydd, fel Swper yr Arglwydd, i gael ei ymarfer yn yr eglwys hyd oni ddelo. (1 Cor. xi. 26.)

2. *Gan fod bedydd yn ordinhad Gristionogol, y mae i barhau fel rhan o Gristionogaeth hyd ddiwedd amser.*

Goruchwyliaeth gysgodol dros amser oedd eiddo Moses, hyd oni ddeuai y Messiah (Deut. xviii. 15. Heb. ix. 9, 10.); mae y cyfammod newydd i barhau hyd ddiwedd amser (Dan. ii. 44. Heb. vii. 16, 17. xii. 27, 28.); gan fod yr apostolion yn bedyddio dychweledigion, a

bod yr oruchwyliaeth Gristionogol i aros yn ddisigl, mae'n canlyn fod bedydd i gael ei weinyddu i ganlynwyr yr Oen hyd ddiwedd amser. Rhaid cael awdurdod Ddwyfol i ddileu neu gyfnewid ordinhad Ddwyfol.

3. *Mae y lle amlwg a roddir i fedydd yn nhrefn achub yn dysgu ei barhad.*

"Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo a gondemnir." (Marc xvi. 16.)

"A Phedr a ddywedodd wrthynt, Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." (Act. ii. 38.)

"Oni wyddoch chwi, am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef?" (Rhuf. vi. 3.)

"Canys cynnifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist, a wisgasoch Grist." (Gal. iii. 27.)

"Wedi eich cydgladdu âg ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cydgyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw, yr hwn a'i cyfododd ef o feirw." (Col. ii. 12.)

"Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hwn sydd yr awr hon yn ein hachub ninnau, *sef* bedydd, (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw;) trwy ein Harglwydd Iesu Grist." (1 Pedr iii. 23.)

Mae ymadroddion o'r fath hyn, yn dwyn argyhoeddiad gyda hwynt fod yr ordinhad y cyfeirir ati yn rhan barhaol a phwysig o grefydd y Testament Newydd. Dengys hanesiaeth eglwysig fod pobl Dduw yn mhob oes yn ystyried bedydd yn ordinhad barhaol yn yr eglwys. Darfu i lawer o honynt, mae'n wir, goleddu syniadau cyfeiliornus o barthed iddi, a'i llygru mewn amryw ffyrdd; ond credent fod bedydd ei hun yn cael ei ddysgu yn y Testament Newydd fel ordinhad barhaol yn eglwys Crist.

4. *Nid oedd bedydd yr Ysbryd Glân yn ei wneyd yn ddianghenrhaid.*

Cawn fod Cornelius a'r rhai oedd yn ei dŷ wedi cael eu bedyddio ar ol derbyn bedydd yr Ysbryd Glân. Yn hytrach na dysgu fod bedydd yr Ysbryd Glân yn gwneyd bedydd dwfr yn ddianghenrhaid, defnyddiai Pedr y ffaith eu bod wedi derbyn yr Ysbryd fel rheswm dros iddynt gael eu bedyddio mewn dwfr hefyd. (Act. x. 47, 48.)

Crist ei hun oedd i weinyddu bedydd yr Ysbryd Glân. "Efe a'ch bedyddia chwi â'r Ysbryd Glân." (Mat. iii. 6. Ioan i. 33.) Mae bedydd yr Ysbryd Glân wedi darfod gyda'r oes apostolaidd; nid oes genym sail i gredu fod neb wedi cael eu bedyddio yn yr Ysbryd Glân, ond y rhai y dywedir yn bendant yn y Testament Newydd eu bod, y rhai ar ol hyny a lefarent â thafodau. (Act. ii. 2—4. x. 44—46. xi. 15—17.)

Yr oedd bedydd yr Ysbryd Glân yn hollol wahanol i ddoniau cadwedigol a santeiddiol yr Ysbryd, y rhai a fwynheir gan bob credadyn. Mae bedydd yr Ysbryd Glân i'w ystyried fel un o'r gwyrthiau a'r rhyfeddodau ar *ddechreuad* Cristionogaeth, er ei *sefydlu* yn y byd, y rhai a ddarfyddasant ar ol ei sefydliad; tra mae ei ddoniau cadwedigol i gydoesi â'r oruchwyliaeth Gristionogol ei hun.

Nid at fedydd yr Ysbryd Glân y cyfeirir yn 1 Cor. xii. 13.:—"Oblegyd trwy un Ysbryd y bedyddiwyd ni yn un corph." Dylanwad achubol yr Ysbryd Glân a olygir yn y geiriau hyn, yn dwyn dynion i arddel Crist ger bron dynion. Rhydd Dr. Bloomfield yr ystyr yn yr aralleiriad canlynol:—"Oblegyd trwy (weithrediad) un Ysbryd y bedyddiwyd ni oll i un corph," hyny yw, fel ag i ffurfio un corph, sef yr eglwys. (*Greek Testament, on* 1 Cor. xii. 13. *Additional Annotations.*)

5. *Nid yw yr Ysgrythyrau a ddyfynir gan y Crynwyr, yn profi dilëad bedydd.*

Haera y Crynwyr *fod pob math o addoliad trwy ffurfiau a defodau, yn hollol annghysson âg ysbrydolrwydd Cristionogaeth,* ac felly na ddylid gweinyddu bedydd na Swper yr Arglwydd o dan y fath oruchwyliaeth; gan sylfaenu eu golygiad ar yr Ysgrythyrau canlynol:—

"Nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod; ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân." (Rhuf. xiv. 17.)

Ond nid oedd dysgeidiaeth Paul am ysbrydolrwydd teyrnas Crist yn rhwystr iddo ef fedyddio ceidwad y carchar, a chyfeirio at fedydd fel un o ordinhadau arosol yr eglwys (Act. xvi. 33. Eph. iv. 5.); yr hyn a ddengys fod y Crynwyr yn priodoli syniadau iddo y rhai na choleddai.

"Ond dyfod y mae yr awr, ac yn awr y mae hi, pan addolo y gwir addolwyr y Tad mewn ysbryd a gwirionedd: canys y cyfryw y mae y Tad yn eu ceisio i'w addoli ef. Ysbryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn ysbryd a gwirionedd." (Ioan iv. 23, 24.)

Y casgliad a dŷn y Crynwyr oddiwrth y geiriau hyn yw,—"Gan fod pob cyfundrefn o grefydd trwy osodiadau seremoniol wedi cael eu dileu, fod addoliad yr eglwys i fod yn hollol ysbrydol, heb un ddefod weledig arwyddluniol o gwbl yn perthyn iddi." Dywed Iesu Grist, modd bynag, fod awr y gyfundrefn ysbrydol yna *wedi gwawrio, ac eto mae'n amlwg nad ystyriai efe ei hysbrydolrwydd yn annghysson â bodolaeth bedydd a Swper yr Arglwydd ynddi.* Os nad oedd bedydd a Swper yr Arglwydd yn annghysson âg ysbrydolrwydd Cristionogaeth yn ei ddyddiau ef a'r apostolion, nis gallent fod felly

yn awr. Dichon fod sefyllfa dyn tra yn y cnawd, yn ei wneyd yn ddymunol os nad yn anghenrheidiol, fod ychydig o ffurfiau syml i gael eu harfer yn addoliad yr eglwys Gristionogol, er fod defodau beichus a lliosog Iuddewiaeth wedi cael eu dileu.*

"Canys ni anfonodd Crist fi i fedyddio, ond i efengylu." (1 Cor. i. 17.)
Yr ydym yn cael, modd bynag, i Paul ei hun fedyddio rhai, hyd y nod yn Nghorinth; a diau i lawer o'r dychweledigion Corinthaidd eu hunain gael eu bedyddio gan gynnorthwywyr, ac o dan arolygiaeth a chyfarwyddyd yr apostol. (Act. xviii. 8—11. 1 Cor. i. 14—16.)

(1,) Nid dibrisio yr ordinhad y mae Paul, ond condemnio eu camddefnydd hwy o honi, er meithrin plaid.

(2,) Llefara yr apostol y geiriau yn 1 Cor. i. 17. mewn dullwedd (*idiom*) Hebreig, *yn yr hwn y ceir y nacâol a'r cadarnhaol wrth gymmharu gwrthddrychau;* megys yn Gen. xlv. 8. Ecsod. xvi. 8. Hos. vi. 6. Ioan vi. 27. Dengys holl Epistolau Paul ei fod ef yn ystyried bedydd yn bwysig; er mai *ail* beth ydoedd yn ymyl pregethu yr efengyl.

(3,) Yr oedd efe i *bregethu yr efengyl i bawb, er tystiolaeth iddynt* fod Duw wedi cyflawni ei fwriadau, ac agor ffordd y bywyd i'r byd; yr oedd dybenion llywodraeth foesol Duw yn galw am hyny, pa un bynag a gredai dynion ai peidio (Mat. xxiv. 14. 1 Tim. ii. 6.); *ond rhagorfraint y dychweledigion oedd bedydd.*

(4,) Yr oedd *gweinidogaeth yr apostolion yn cynnwys y ddawn o ysbrydoliaeth Duw,* gan mai hwynt-hwy oeddynt esbonwyr anffaeledig ewyllys Duw i'r byd, a deddfroddwyr ei deyrnas, cyn gorpheniad y Canon (Mat. xix. 28. Ioan xvi. 13. Act. i. 8.); ond nid oedd eisieu y fath gymhwysder i fedyddio, ac am hyny byddai yr apostolion, mae'n ymddangos, fel rheol, yn ymddiried y gwaith o fedyddio i'w cynnorthwywyr, tra yr ymroddent hwy eu hunain i ddyledswyddau mwy ysbrydol eu galwedigaeth. (Act. x. 48.)

6. *Mae dybenion bedydd hefyd, yn dangos ei barhad.*

(1,) Y mae yn brawf o ufydd-dod dyn, ac felly, i raddau, yn brofiedydd cymmeriad, er cadw yr eglwys oddiwrth ragrithwyr. "O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion." (Ioan xiv. 15.)

(2,) Y mae yn foddion i'r dychweledigion broffesu eu ffydd yn Nuw, yn Dad, Mab, ac Ysbryd Glân (Mat. xxviii. 19.); ac yn

---

* Dr. Halley on the Sacraments, Part. i. Lecture ii.

arbenig yn yr Arglwydd Iesu, fel y Gwaredwr a fu farw, a gladdwyd, ac a adgyfodwyd, er perffeithio eu hiachawdwriaeth; ac y mae yn delweddu hefyd, megys mewn *darlun* trwy weithred allanol, yn hytrach nag mewn *geiriau* trwy ddesgrifiad, ein marwolaeth ninnau i bechod, a'n hadgyfodiad i santeiddrwydd (Rhuf. vi. 3. 6. Col. ii. 12. iii. 1.); gan daflu ei lewyrch yn mlaen mor bell ag adgyfodiad y meirw. (1 Cor. xv. 29.)

(3,) Y mae yn un o'r ffyrdd sydd gan Dduw i ddangos ei gymmeradwyaeth o'i bobl.

Mae yr Arglwydd fel pe byddai yn dyfod i gyfarfod â dyn ar dir ei ufydd-dod ffyddiog a chywir i'w Fab yn yr ordinhad hon, gan wenu ar ei enaid, a rhoddi tystiolaeth iddo o faddeuant pechod. Credwn fod rhywbeth fel yna yn cael ei awgrymu yn Act. ii. 38. xxii. 16. Tit. iii. 4—7. (Gwel yn mhellach yn y bennod ar Ddyben Bedydd.)

Mae y dybenion hyn i fedydd mor bwysig yn awr ag oeddynt yn yr oes apostolaidd; maent yn perthyn i bob oes fel eu gilydd; a rhaid i'r ordinhad ag sydd yn meddu y fath bwysigrwydd ac yn delweddu y fath wirioneddau barhau, tra byddo yr efengyl a'r natur ddynol yr hyn ydynt.

Gwel B. W. Noel's *Essay on Christian Baptism*, Introduction: R. Ingham's *Hand-Book on Christian Baptism*, (1865) pp. 3—7.

---

# PENNOD III.

## GORCHYMYNION MOESOL A PHENDANT.

"Fel y profoch y pethau sydd â gwahaniaeth rhyngddynt."—Phil. i. 10.

---

*Y gwahaniaeth rhwng Gorchymynion Moesol a Phendant—Weithiau yn gwrthdaraw—Un ffordd i gyflawni Gorchymyn Pendant—Dyledswyddau crefyddol dynion yn amrywio yn ol natur yr Oruchwyliaeth—Pwysigrwydd Gorchymynion Pendant—Cymhwyso yr ymresymiad at y pwnc o Fedydd—Ystyr y gair Cymraeg Bedydd.*

MAE dyledswyddau crefyddol dynion o ddau fath, sef rhai *moesol* a *phendant.* Mae gorchymynion moesol yn sylfaenedig ar natur Duw, ac ar y berthynas a fodola rhyngddo a dyn, ac felly maent yn dda ynddynt eu hunain, ac o rwymedigaeth barhaus; tra mae gorchymynion pendant yn sylfaenedig ar ewyllys benarglwyddiaethol Duw yn unig, ac felly yn dda am ei fod ef wedi eu gorchymyn, ac yn gyfnewidiol yn ol natur yr oruchwyliaeth o dan yr hon yr ydys yn byw. Yr ydym yn canfod y priodoldeb o'r gorchymynion moesol, ac yn teimlo nas gallent fod o natur wahanol; tra nas gallwn yn wastad ddirnad rhesymoldeb y gorchymynion pendant, na deall paham y sefydlwyd y gosodiadau pendant ac arbenig a geir yn y Beibl, yn hytrach na rhyw osodiadau pendant arbenig ereill.

Buasai y dyledswyddau moesol yn rhwymedig ar ddynion, hyd y nod pe buasai Duw heb eu gorchymyn. Buasai dyn o dan rwymau i garu Duw â'i holl galon, a'i gymmydog fel efe ei hun, pe na fuasai y Creawdwr wedi gorchymyn hyny, gan fod y ddyledswydd yn ymgodi oddiar natur perthynas dyn â Duw ac â'i gyd-ddyn; ond ni fuasai rhwymau ar Abraham i offrymu Isaac, nac ar Moses i daro y graig, nac ar Gristionogion i weinyddu Swper yr Arglwydd, oni buasai fod Duw wedi gorchymyn hyny. Dengys hyn fod dyledswyddau crefyddol *allanol* yn amrywio mewn gwahanol gyfnodau, yn ol natur yr oruchwyliaeth a fyddo mewn grym ar y pryd. Nid oedd bedydd a Swper yr Arglwydd yn rhwymedig ar yr Iuddewon, ac nid yw y Cristionogion o dan rwymau i aberthu a myned i Jerusalem i'r gwyliau blynyddol; ond y mae deddf fawr cariad goruchel at Dduw i barhau yn ddiysgog fel y mynyddoedd cedyrn yn mhob oes, ac o dan bob goruchwyliaeth. Nid yw ein hanallu ni i amgyffred

amcan Duw yn rhoddiad gorchymyn pendant, yn ein rhyddhau oddiwrth ein dyledswydd i ufyddhau; pan y mae Duw yn gorchymyn, dyledswydd dyn yw ymostwng, gan ystyried fod Duw yn ddoethach na dyn, ac mai ei leferydd ef ac nid ein teimlad ni yw y rheol i grefydda; ac y dichon fod yr hyn a ystyriwn ni, feallai, yn ysgafn a dibwys, wedi cael ei fwriadu ganddo ef er rhoddi prawf ar ein hufydd-dod, ac er dangos nerth ein cariad a didwylledd ein ffydd.

Mae gorchymynion moesol yn rhagdybied calon dda i ufyddhau iddynt, a lle nad ydyw hôno yn bresennol, nid yw yr ufydd-dod yn gymmeradwy; ond nid ydyw gorchymyn pendant o anghenrheidrwydd yn rhagdybied calon lawn o gariad at Dduw. Gall fod, neu gall beidio bod, yn ol ewyllys y Deddfroddwr.

Mae'n wir fod yr enwaediad yn arwydd o ffydd i Abraham ei hun (Rhuf. iv. 11.), ond nid oedd felly i'w hiliogaeth. Nid oedd cadw y gwyliau ac offrymu yr aberthau, o anghenrheidrwydd, yn cynnwys fod pob Hebrewr yn ymhyfrydu yn nghyfraith Duw o ran y dyn oddi mewn. (Esai. i. 11—15. Ioan viii. 39. Rhuf. ii. 28, 29. ix. 6—8.) Ond o dan y Testament Newydd, yn ol appwyntiad neillduol Brenin Seion, y mae bedydd yn wastad yn rhagdybied troedigaeth flaenorol yr ymgeisydd, a Swper yr Arglwydd yn rhagdybied ffydd, a chariad, a hunanymholiad yn y cyfranwyr.

Gellir cyflawni gorchymynion moesol, gan eu bod yn dysgu *egwyddorion*, mewn gwahanol ffyrdd. Gallwn anrhydeddu ein rhieni trwy eu caru, trwy ufyddhau iddynt, trwy ofalu am eu cysur, a chyfranu i'w hanghenrheidiau; gallwn garu ein cymmydog trwy ddweyd yn dda am dano, trwy gydymdeimlo âg ef yn ei brofedigaethau, trwy ei gynnorthwyo yn ei dlodi, a thrwy weddio drosto; ond gyda golwg ar orchymynion pendant, gan eu bod yn ymwneyd yn neillduol â'r *ymddygiad allanol*, y maent yn wastad yn gofyn yr un ffurf o ufydd-dod, ac i'w cyflawni yn ol llythyren y gyfraith. Os gorchymynodd Duw i Adda beidio bwyta o'r pren ag oedd yn nghanol yr ardd, oddiwrth hwnw yr oedd Adda i ymattal, ac nid oddiwrth unrhyw bren arall yn ei le. (Gen. ii. 16, 17.) Os gorchymynodd Duw i Noah wneyd arch o goed gopher, er achub ei hun a'i deulu rhag y diluw, rhaid oedd ei gwneyd o goed gopher, ac nid o un defnydd arall. (Gen. vi. 14.) Os gorchymynodd Duw i Abraham offrymu ei fab Isaac ar ben Moriah, yr oedd y patriarch yn rhwym o offrymu Isaac ac nid Ismael, a hyny ar ben Moriah, ac nid ar un mynydd arall. (Gen. xxii. 2.) Gellir dweyd yr un peth am y tabernacl, a defodau y gyfraith yn gyffredinol. (Ecsod. xxv. 40. Num. viii. 3, 4. Deut. iv. 2. xii. 32. Heb. viii. 5.) A dylem gofio yn barhaus pan yn ymwneyd â gosodiadau pendant, fod yn rhaid iddynt nid yn unig beidio cael eu gwahardd, ond cael eu gorchymyn mewn modd eglur

a diamwys. Gellir dweyd am ddegau o lygriadau ar grefydd yn awr, megys ag yn nyddiau y Gwaredwr, *nad ydynt, o bossibl, mewn geiriau pendant yn cael eu gwahardd;* ond i fod yn rhwymedig, rhaid iddynt gael eu gorchymyn mewn iaith bendant ac eglur gan Ben yr eglwys.

Fel rheol, dylid ufyddhau i orchymynion moesol o flaen rhai pendant, pan y deuant i wrthdarawiad â'u gilydd (Mat. ix. 13. xii. 1—13.); er y darllenwn am amgylchiadau neillduol mewn ufydd-dod i archiad arbenig o eiddo Duw, pan yr oedd dyledswyddau moesol i roddi ffordd i orchymynion pendant. (Cymharer Gen. iv. 11, 12. ix. 4. 6. â Gen. xx. 1, 2., ac Ecsod. xx. 13. â Jos. vi. 21.) Gwel *Butler's Analogy, Part II. chap.* i., *Paley's Evidences, on "The Morality of the Gospel.," The Bible Hand-Book, by Dr. Angus, Part I. chap.* v. § 2.

Y mae pwys dirfawr yn ein gwaith yn cyflawni ewyllys Duw yn yr oll o honi. Wrth blygu i'w ewyllys ddadguddiedig, yr ydym yn talu gwarogaeth i'w awdurdod arnom, ac yn dangos mewn gweithred mai yr Arglwydd yw ein Duw. Y mae pwys yn mhob peth a ddysga Duw i ddyn. Y mae yr Anfeidrol yn rhy ddyrchafedig, doeth, a thrugarog i orchymyn pethau dibwys i ddynion, y rhai y maent hwy at eu rhyddid i'w derbyn neu eu gwrthod. Y mae pwys, gan hyny, mewn gosodiadau pendant yn gystal a gorchymynion moesol. Y mae pwysigrwydd gorchymynion pendant i'w ganfod, pan yr ystyriom

1. *Iaith bendant y Deddfroddwr.*

Mor bendant oedd y gorchymyn i Adda:—"A'r Arglwydd Dduw a orchymynodd i'r dyn, gan ddywedyd, O bob pren o'r ardd gan fwyta y gelli fwyta: ond o bren gwybodaeth da a drwg, na fwyta o hono; oblegyd yn y dydd y bwytêi o hono, gan farw y byddi farw." (Gen. ii. 16, 17.) Mor bendant y llefara Duw yn nghylch yr allor:— "Ond os gwnai i mi allor geryg, na wna hi o geryg nadd: pan gottech dy forthwyl arni, ti a'i halogaist hi." (Ecsod. xx. 25.) Mor fanwl yw y cyfarwyddyd yn nghylch y poethoffrymau a'r gwahanol aberthau, (Lef. i—iv.) fel yr ydym yn gorfod teimlo fod pwys annhraethol yn ein gwaith yn cydymffurfio â threfn Duw yn hollol yn ol y llythyren!

2. *Fod Duw wedi dangos ei anfoddlonrwydd tuag at y rhai a droseddasant ei orchymynion pendant.*

Pan y bwytâodd Adda o ffrwyth y pren gwaharddedig, fe syrthiodd ei goron, ac fe ddiangodd ei ddedwyddwch. Nid ydyw dweyd nad oedd y weithred ond bechan a dibwys, yn ddim yn ymyl y *ffaith* ddifrifol fod Adda trwy ei chyflawni wedi digio Duw! Fe oddiweddwyd gwraig Lot gan farn am droseddu gorchymyn pendant. (Gen. xix. 17. 26.) Fe gauwyd Moses allan o Ganaan am droseddu gorchymyn pendant. (Num. xx. 8. 11, 12.) Fe laddwyd meibion

Aaron ger bron yr Arglwydd am iddynt offrymu "tân dyeithr." (Lef. x. 1.) Mae'n wir na *waharddwyd* iddynt wneyd hyny, ond y pechod oedd, eu bod yn gwneyd "yr hyn *ni orchymynasai* efe iddynt." Ac o dan y Testament Newydd, dangosodd Duw ei anfoddlonrwydd tuag at y Corinthiaid, am nad oeddynt yn cyfranogi o Swper yr Arglwydd mewn modd teilwng a chymmeradwy. (1 Cor. xi. 29, 30.)

Yn awr, cymhwyswn y pethau hyn at y pwnc dan sylw. Y mae bedydd yn orchymyn Duw, ac yn orchymyn pendant. Gan ei fod yn orchymyn pendant, nid oes ond un ffordd i'w weinyddu. Yn ol natur y gosodiad, rhaid fod ei ddeddf yn eglur a manwl. Byddai yn anfri ar ddoethineb ein Ceidwad i ni dybied ei fod wedi rhoddi gorchymyn pendant, a gadael dynion at eu rhyddid pa fodd i'w weinyddu. Rhaid ei fod yn ddiamwys, eglur, a dealladwy i'r cyffredin o ddynion. Y mae hanes cwymp meibion Aaron yn ein dysgu na ddylem ddyfod â dim byd i mewn yn lle yr hyn orchymynodd yr Arglwydd. Y pwnc ynte, yw, Beth a orchymynodd yr Arglwydd? Os ydyw *baptizo* yn golygu *taenelliad*, taenellu sydd i fod, ac nid yr un dull arall; ond os ydyw yn golygu *trochiad* neu *suddiad*, *trochi* neu *suddo* yw yr iawn ddull o weinyddu bedydd, ac nid un dull gwahanol. Y mae natur gorchymyn pendant, o anghenrheidrwydd yn dysgu hyn. Credwn pe byddai bedyddwyr babanod yn ystyried yn briodol y gwahaniaeth rhwng gorchymynion moesol a phendant, na ddadleuent nad ydyw o bwys pa *fodd* y gweinyddir bedydd.

Fod pwys mewn bedydd sydd amlwg i'r ystyriol. Gosodiad Duw ydyw. Ni ymostyngodd Duw erioed i sefydlu pethau dibwys. Mae gan Dduw barch i'w air, ac y mae yn eiddigeddus yn nghylch ei ddeddfau. Efe a anfonodd Ioan i fedyddio mewn dwfr (Ioan i. 6. 33.); a'i Fab ef a orchymynodd i'r apostolion fedyddio credinwyr yn mhlith yr holl Genedloedd. (Mat. xxviii. 19. Marc xvi. 15, 16.) Mae bedydd yn gosod allan y pethau pwysicaf, sef marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Crist. (Rhuf. vi. 3—5.) Fe ddaeth Mab y Deddfroddwr Dwyfol rai ugeiniau o filltiroedd o ffordd i anrhydeddu yr ordinhad, trwy ymostwng iddi ei hunan. (Mat. iii. 13—17. Marc i. 9.) Ei fwyd a'i ddiod ef oedd gwneuthur ewyllys yr hwn a'i hanfonodd; ac yn hyn fe roddodd esiampl i ni fel y dilynem ei ol ef.

Amcan penaf y traethawd hwn yw gwneyd ymchwiliad i ystyr *baptizo*. Gan y credwn fod Iesu Grist wrth orchymyn i'w apostolion *fedyddio* credinwyr yn dysgu iddynt eu *trochi* mewn dwfr, bydd i ni yn y tudalenau canlynol ddwyn ein rhesymau yn mlaen dros gredu hyn.

Rhaid fod rhyw ystyr neillduol i *baptizo*. Dweyd fod Iesu Grist yn gorchymyn *bedyddio*, ac nad ydyw yn gorchymyn na *throchi* na *thaenellu*, na chyfeirio o gwbl at y dull, sydd ymadrodd hollol

ddisynwyr; oblegyd y mae ystyr neillduol i'r gair, ac y mae yn golygu dull. Pe dywedai un,—"Y mae commisiwn Crist yn gorchymyn *trochi*, nid ydyw yn gorchymyn na throchi na thaenellu, nac yn cyfeirio o gwbl at y dull,"—fe'i hystyrid yn traethu ffolineb; ymadrodd hollol gyffelyb yw eiddo y rhai a ddywedant fod yr Arglwydd Iesu wedi gorchymyn *bedyddio*, ac nad yw ei eiriau mewn un modd yn golygu unrhyw ddull neillduol. Y mae yn cymmeryd yn ganiatâol fod Iesu Grist wedi defnyddio gair am yr ordinhad heb fod un ystyr neillduol yn perthyn iddo.

Dywedir fod rhai geiriau yn gwahaniaethu i raddau yn eu hystyron yn yr ysgrifeniadau clasurol oddiwrth yr hyn ydynt yn y Testament Newydd, megys *Duw*, *nefoedd*, *cnawd*, *ffydd*, a *chyfiawnder;* ac er mai ystyr *baptizo* yn y clasuron yw *trochi*, eto haerir ei fod yn cael ei ddefnyddio yn y Testament Newydd i olygu *glanhau* neu *buro;* a bod geiriau yn newid eu hystyron mewn amser, megys *prevent* a *conversation*, y rhai a ddefnyddir mewn ystyr wahanol yn awr i'r hyn a olygent pan gyfieithwyd y Beibl i'r Saesonaeg. Dylid cofio, modd bynag, nad ydyw pob gair felly. Y mae llu o eiriau yn meddu yr un ystyr yn yr ysgrifeniadau clasurol ag yn yr Ysgrythyrau, a'r naill oes ar ol y llall. Er engraifft, gellir nodi y geiriau *cerdded*, *sefyll*, *bwyta*, *yfed*, *cysgu;* er y dichon iddynt gael eu defnyddio mewn modd ffugyrol, yr un yw eu hystyr lythyrenol yn yr holl ysgrifeniadau, ac yn mhob oes.

*Yr ydym yn cyfarfod â llawer o eiriau ag sydd yn cadw eu hystyr lythyrenol, er eu bod yn cael eu defnyddio i ddybenion newyddion.* Golyga y gair Groeg KERUSSO, *llefain yn hyglyw, fel y cyhoeddwr trefol (public crier);* golyga yr un peth yn llythyrenol pan y defnyddir ef am bregethu yr efengyl. Golyga y geiriau Groeg ESTHIO a PINO, *bwyta* ac *yfed;* golygant hyny yn llythyrenol hefyd pan y defnyddir hwynt yn nglyn â Swper yr Arglwydd. Golyga y gair Hebraeg, ZABACH, *lladd anifeiliaid* (Deut. xii. 15.); nid ydyw wedi colli ei ystyr lythyrenol pan y defnyddir ef am aberthu i'r Arglwydd. Golyga y geiriau Groeg PASCHO ac APOTHNESKO, *dyoddef* a *marw;* meddant yr un ystyr hefyd pan y cymhwysir hwynt at ddyoddefiadau a marwolaeth y Cyfryngwr. Felly hefyd gyda golwg ar *baptizo*. *Trochi*, *tansuddo*, neu *orchuddio*, yw ei ystyr yn yr ysgrifau clasurol; yr un peth yn gywir yw ei ystyr hefyd pan y defnyddir ef i osod allan ordinhad Crist.* Ac nid oes dim yn y gair Hebraeg, yr hwn a gyfieitha y LXX yn *baptizo*, yn ein dwyn i dybied fod yr Iuddewon

* "There is no evidence that Luke and Paul, and the other writers of the New Testament, put upon this verb meanings not recognized by the Greeks."—*Greek Lexicon. By E. A. Sophocles. Boston, U.S.*, 1870.

yn ymwrthod â'r ystyr a rodda yr ysgrifau clasurol i *baptizo*. Mae y gair Hebraeg, am yr hwn y saif *baptizo* a *bapto* yn y *Septuagint*, yn golygu *trochi* neu *suddo*.*

Os ydyw geiriau yn mhlith dynion yn newid eu hystyron, fel y mae olwyn amser yn troi, nid yw y geiriau, yn y rhai y mae meddwl yr Ysbryd, i newid gyda syniadau ac ymarferion y gwahanol oesau. Y mae geiriau y bywyd i feddu yr un ystyr hyd ganiad yr udgorn diweddaf. Os nad ydyw pleidiau crefyddol yr oes yn cyssylltu yr un ystyr â bedydd ag a gyssylltai Iesu Grist â *baptizo*, y mae hyny yn brawf o ddirywiad a hir gynnefindod â chyfeiliornad. Na fydded i neb dawelu ei feddwl a boddloni ei hun trwy ddweyd fod geiriau mewn amser yn newid eu hystyron, ac fod *baptizo* erbyn hyn wedi newid hefyd! Na, er mwyn i ewyllys Duw gael ei chadw yn ddilwgr a digyfnewid hyd ddiwedd y byd, y mae yr Ysbryd Glân wedi cynhyrfu dynion santaidd i'w hysgrifenu. "Y pethau hyn a *ysgrifenwyd* fel y credoch chwi." "Gair ein Duw ni a saif byth."

O barthed y gair Cymraeg *bedydd*, mae yn anhawdd dyfod i benderfyniad sicr gyda golwg ar ei darddiad. Deallir ef mewn dwy ffordd gan wahanol ddysgedigion. Edrycha un dosbarth arno fel gair Celtaeg, yn gyfystyr â *bedd-suddo;* a'r llall fel Cymreigiad o'r gair Groeg *baptizo*. Mae llawer i'w ddweyd dros bob un o'r ddau olygiad.

1. Y syniad mai gair Cymraeg ydyw, yn sylfaenedig ar y gwreidd-air *bad*, *badd*, neu *bedd*, neu ar y gair *suddo*.

"Bedydd, bed, bad, badd; Groeg, baptismos; ba=tansuddiad. Ysgrifena Dr. D. ef *badyddio* yn ogystal â *bedyddio*."—Dr. W. O. Pughe.

Dyfyna Dr. Gotch, Athrofa Bristol, y sylwadau canlynol o Eiriadur Celtaidd Bullet yn y Ffrancaeg:—"*Bedydd*, gair yn golygu mewn modd cyffredinol *badd*. *Bedyddfa*, bâdd, y lle yn yr hwn y mae dynion yn ymolchi.

"*Bedyddio*, gweinyddu bedydd. *Bad*, bâdd, lliosog, *badon* (baddon). *Bad*, yn y Teutonaeg, Icelandaeg, Runaeg, a Fflemaeg. *Bath*, yn Saesnaeg. *Baeth*, yn yr Anglo-Sacsonaeg. *Bad*, bâdd, yn Icelandaeg a'r Swedaeg, yn ol Rudbeck. Gwel *bad* dwfr. Yr un gair ydyw a *bodd*, gan fod *a* ac *o* yn cael eu defnyddio yn gylch-gyfnewidiol." Ychwanega Dr. Gotch fod yr un cyssylltiad yn y Wyddelaeg rhwng y gair am fedydd a'r gair am ddwfr ag sydd yn y Gymraeg:—

"*Bais*, dwfr afon.

---

* Wrth gyfieithu y Testament Newydd i'r Hebraeg, nis gallasai Dr. Delitzsch, yr esboniwr a'r ysgolhaig Dwyreiniol enwog, gael gair cywirach na *tabal* i osod allan ystyr *baptizo* a *bapto*. Gwel ei gyfieithiad, cyhoeddedig gan y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, trydydd argraffiad, 1880.

*Baisde*, bedydd, bedyddio."

Ceir a ganlyn hefyd yn Ngeiriadur Gaelaidd Shaw:—

"*Baisdadh*, bedydd, gwlaw.

*Baisdeam*, bedyddio, trochi." (Gwel *Gotch's Critical Examination of the rendering of the word Baptizô in Ancient and Modern Versions, &c.*, tudal. 48.)

Mae llawer i'w ddweyd, gan hyny, dros y dyb mai *badd* neu *bedd* yw y gwreiddair, ac mai ystyr bedyddio yw *bedd-suddo*, neu achosi i fod yn suddedig.

Deallai y Dr. W. Richards, o Lynn, y pwnc yn wahanol. Ystyriai efe, ar ol cymharu y gwahanol ganghen-ieithoedd yn Mhrydain, Cernyw *(Cornwall)*, a Llydaw, â'u gilydd, mai *suddiant* yw y *gwreidd-air*, ar yr hwn y tyfodd y gair bedydd i'w ffurf bresennol. "O herwydd yr ystyriaeth yma, gan hyny (eb efe), yr wyf yn meiddio haeru fod y gair dan sylw wedi deilliaw o *suddiant*, gair Prydeinaidd yn arwyddo, fel y mae'n eithaf adnabyddus, *trochiad*, neu *dansuddiad*; a'r ferf i ba un yw *soddi*, neu *suddo*. BEDZHIDHIAN (bed-suddian) yw y gair am fedydd yn y Gernywaeg; perthynas yr hwn â'r gair Cymraeg *suddiant*, a raid fod yn amlwg i bawb. Mae y gair Cernywaidd hwn, sef *bedsuddian*, yn arddangos gwreiddyn y gair Llydawaidd am fedydd, BETDIDHIANT (yr hwn a seinir *baduddiant*), yr hwn nad yw, yn ddiau, amgen na *badsuddiant*, wedi ei dalfyru ychydig; cyfatebiad yr hwn i'r gair Cymraeg *suddiant*, sydd mor amlwg a diammheuol â'r gair a grybwyllwyd eisioes yn y Gernywaeg. Wrth gymharu y geiriau Llydawaidd a Chernywaidd hyn â'u gilydd, yr ydym yn cael ein harwain o anghenrheidrwydd i gasglu fod yn rhaid mai *bedsuddiant*, neu *badsuddiant*, oedd y gair cyntefig am fedydd yn yr iaith Brydeinig, o'r hwn hefyd y mae y gair Cymraeg presennol, *bedydd*, wedi tarddu." (Gwel *Athrawiaeth Bedydd Dwfr yn cael ei Hamddiffyn*, &c. Gan William Richards. Caerfyrddin, 1789, tudal. 71, 72. *The History of Antichrist, or the Corruptions of Christianity.* By William Richards. Lynn, 1784, p. 99. Booth's *Defence of Paed. Examined*, *Edition* 1792, *p*. 329.)

Mae yn hollol bossibl mai y goleuni a ddyry Dr. Richards ar y pwnc yw yr un cywir, gan mai hawdd y gellid newid *a* i *e* yn ngyrfa amser, a gollwng *s* i golli o ganol gair.

2. Tybiaeth arall yw, mai Cymreigiad o'r gair Groeg *baptizo* ydyw. Mae y ffaith fod geiriau ereill o'r Groeg, mor annhebyg a baptizo i eiriau Cymraeg, wedi cael eu trosi i'r iaith Gymraeg mewn cyssylltiad â chrefydd, ac na ddefnyddir y gair bedydd yn ei ffurf bresennol yn y Gymraeg am drochiadau neu ymolchiadau ar wahan i grefydd, yn tueddu yr ysgrifenydd i feddwl mai y gair Groeg wedi ei Gym-

reigio ydyw, pe Cymreigio hefyd. Mae geiriau ereill Groeg, a rhai Lladin, wedi eu trosi i'r Gymraeg, y rhai yn y trosiad sydd wedi colli llawer o'u hunaniaeth cyntefig. Er engraifft:—

Ekklesia, cynnulleidfa; *eccles*, yn nyddiau William Salisbury; *eglwys*, erbyn heddyw.

Episcopos, arolygwr; *episcopus*, yn ngenau yr offeiriaid Pabaidd, pan y darllenid y gwasanaeth yn y Lladin yn y llanau; ac o'r diwedd fe'i hysgrifenwyd yn ol fel y seiniai ar glust y werin anwybodus, yn *esgob*.

Lapido, lluchio ceryg at; Cymraeg, *llabyddio*. Dyma y gair a geir yn y Vulgate Lladin am labyddio Stephan (*lapidabant*, Act. vii. 58.). Deillia Dr. W. O. Pughe, modd bynag, y gair llabyddio o llab, *a slip, a stripe, a stroke, a strip;* ond gwell genyf fi ei ystyried fel Cymreigiad o'r Lladin, fel y mae y geiriau *efengyl*, *apostol*, *diacon*, *eglwys*, ac *esgob* yn Gymreigiad o'r Groeg.

Os ystyriwn fod y gair bedyddio wedi cael ei ffurfio o'r Groeg *baptizo*, trwy roddi terfyniad Cymraeg iddo, a gadael allan y llythyren *p*, a throi y *t* i *d*, nid oes dim yn ymddangos yn afresymol yn hyny yn ngwyneb y cyfnewidiadau yr aeth geiriau ereill trwyddynt. Collwyd y *p* gyntaf yn y gair esgob, a newidiwyd y *p* arall yn ei ddiwedd i *b*, a throwyd y *k* yn *ekklesia* i *g* yn eglwys. A mynych y gollyngir y *p* ymaith yn y gair *Baptist* yn y dyddiau hyn yn llafar gwlad, pan y sonir am un fel *Batist*, neu *Fatis!* Yn Nhestament William Salisbury, cyfieithir *baptisma* â'r geiriau *batydd* a *betydd;* a'r ferf *baptizo* â'r geiriau *batyddio* neu *betyddio;* ac nid oedd eisieu ond newid y *z* i *dd*, a gadael allan y *p*, er cael y gair fel y defnyddir ef gan W. Salisbury. Gan fod yr iaith Gymraeg yn hynach na sefydliad y grefydd Gristionogol yn y byd, nid ydyw ond peth naturiol i'w ddysgwyl fod gwahanol enwau ac ymadroddion wedi cael eu dwyn i mewn iddi yn nglyn â Christionogaeth, y rhai na pherthynent iddi yn flaenorol.

Mae'n amlwg, modd bynag, oddiwrth y nodiadau blaenorol, gan nad pa olygiad a goleddir o barthed i darddiad y gair bedydd, fod y tebygolrwydd bron yn gymmaint o blaid y naill a'r llall, ac na ddylai coleddwyr y naill dyb na'r llall, gan hyny, deimlo yn anffaeledig iawn mai eu golygiad hwy yw yr un cywir, a bod yn rhaid fod pob un arall yn gyfeiliornus. Ymddengys hefyd, gan nad pa un o'r golygiadau uchod a fabwysiedir (ac ni chlywais am yr un arall), mai ystyr y gair *bedydd* yw *trochi*. Os o *badd* neu *bedd* y mae yn tarddu, ei ystyr yw *soddi*, neu achosi i fod yn soddedig; os o *suddiant* y deillia, fel y dadleua Dr. W. Richards, ei ystyr yw *tansuddo;* neu os y gair Groeg *baptizo*, (fel y tueddir yr awdwr i gredu,) wedi cael ei drawsffurfio ydyw, y mae ei ystyr yr un, ac ni oddef un ystyr arall.

# RHAN II.

## Y WEITHRED O FEDYDDIO, NEU DDULL BEDYDD.

### DOSRAN I.

### Y PROFION.

### PENNOD I.

BAPTO YN YR YSGRIFENIADAU CLASUROL A CHYSSEGREDIG.

*Baptizo yn ddeilliedig o Bapto—Nad ydyw Bapto yn cael ei ddefnyddio yn y Testament Newydd am yr ordinhad o Fedydd—Prif ystyr Bapto —Geiriaduron Greenfield, Parkhurst, Dr. Edward Robinson, Dr. John Jones, Dr. S. T. Bloomfield, a Liddell a Scott ar Bapto—Engreifftiau o'r Clasuron yn profi fod Bapto yn golygu trochi—Engreifftiau o'r LXX a'r Testament Newydd—Ystyr ail-raddol Bapto yn tarddu o'i brif ystyr—Nodiad ar Gystrawen Bapto gyda'r Arddodiad Apo.*

Er nad ydyw y gair *bapto* yn cael ei ddefnyddio unwaith yn y Testament Newydd am yr ordinhad o fedydd, eto, gan fod y gair *baptizo* yn tarddu o *bapto*, a chan y dadleuir yn erbyn gwir ystyr *baptizo* oddiwrth rai engreifftiau lle y defnyddir *bapto*, ystyriwn mai doeth yw i ni wneyd ymchwiliad i ystyr *bapto*, a dwyn engreifftiau yn mlaen i ddangos ei arwyddocâd. Prif ystyr *bapto* yw *trochi* neu *suddo;* a chan mai trwy *drochi* neu *suddo* pethaū y lliwid hwy, daeth y gair mewn amser i olygu lliwio fel ei ystyr ailraddol. Dodwn yma dystiolaeth ychydig o Eiriaduron adnabyddus ar ystyr y gair:—

W. Greenfield's *Greek Lexicon.*—Trochi suddo, soddi, (*to dip, plunge, immerse*).

Parkhurst's *Greek Lexicon.*—Trochi, suddo, soddi, (*to dip, plunge, immerse*).

Dr. Ed. Robinson's *Greek Lexicon.*—Trochi mewn, soddi, (*to dip in, to immerse*). 2. Trochi, lliwio, (*to dip, to dye*).

Dr. John Jones's *Greek Lexicon.*—Trochi *er mwyn lliwio*, lliwio, ystaenio; trochi *dyfrlestr mewn dwfr*, tynu dwfr, (I dip *for the sake of dyeing*, I dye, stain.—Dip *a bucket in water*, draw).

Dr. S. T. Bloomfield's *Greek Lexicon.—Trochi o dan, soddi; trochi mewn lliw, lliwio*, (*to dip under, immerse:* John xiii. 26. Lev. iv. 6. xiv. 6. Num. xix. 18. Luke xvi. 24., *to dip in dye, to dye.* Rev. xix. 13.)

Liddell & Scott's *Greek Lexicon.*—Trochi, trochi o dan; Lladin, *immergere*, (*to dip, dip under;* Lat. *immergere*). 2. Lliwio, cochi, mwydo, (*to dye, colour, steep*); diareb, "*baptein tina bamma Sardianikon,*" —mwydo un mewn porphor. 3. Llenwi drwy drochi mewn, tynu dwfr, (*to fill by dipping in, draw*). II. Berf ddiwrthddrych. Trochi, suddo, (*to dip, sink*); "*naus ebapsen*"—soddodd y llong.

Wele dystiolaethau yr enwogion uchod yn eu hiaith eu hunain rhwng cromfachau, yn ogystal ag yn Gymraeg. Gan ei fod yn arferiad wrth godi dwfr o'r ffynnon, neu'r afon, i drochi y llestr, y mae Dr. John Jones, a Liddell a Scott yn rhoddi i *bapto* yr ystyr o *lenwi drwy drochi*, am fod genym engreifftiau lle y dywed y feistres wrth y forwyn am gymmeryd y dyfrlestr a'i *drochi* yn y môr, a'i ddwyn drachefn iddi hi. Ond y mae yr ystyr yn hollol eglur mewn engreifftiau fel hyn, fel na ddylai neb dramgwyddo wrthynt.

Yn awr, ni a ddygwn yn mlaen ychydig o esiamplau o'r ysgrifeniadau clasurol, yn mha rai y canfyddir mai prif ystyr *bapto* yw *trochi* neu *soddi i beth.* Gellir gweled yr engreifftiau o *bapto*, y rhai a geir yn y bennod hon, ac o *baptizo*, y rhai a geir yn y pennodau canlynol, a llawer ereill cyffelyb iddynt, yn ngweithiau Gale, Carson, Stuart, Ripley, Cox, Noel, Conant, &c., ar fedydd, i ba rai yr ydym yn cydnabod ein rhwymau am amryw o honynt.

Yn Homer yr ydym yn cael y gair *bapto* yn cael ei ddefnyddio i osod allan waith y gôf yn trochi y fwyell yn y dwfr er mwyn ei chaledu:—"Fel pan mae'r gôf yn *trochi (baptei)* ei fwyell fawr, neu gymmynai, mewn dwfr oer." Gesyd Cowper allan yr amgylchiad y cyfeirir ato yn y frawddeg hon fel y canlyn:—

"As when the smith, an hatchet or large axe,
Tempering with skill, *plunges* the hissing blade
Deep in cold water. (Whence the strength of steel)."

Nis gellir camgymmeryd ystyr y gair yn y frawddeg ganlynol:—"Y plentyn wrth ganfod fod ei dad wedi ei lofruddio, â'i law ei hun a *sudda (bapsei)* ei gleddyf i goluddion y sarph." Y mae *bapto* yma yn golygu gwaith y plentyn yn dial marwolaeth ei dad drwy soddi ei gleddyf yn ymysgaroedd y creadur a'i rhoddodd i farwolaeth.

Yn Euripides yr ydym yn cael hanes corph yn cael ei olchi cyn iddo gael ei gladdu; ac am yr ystyrid dwfr y môr yn well at hyny na dwfr arall, yr ydym yn cael mam i'r un fuasai farw yn galw ar ei mhorwyn, ac yn dweyd wrthi:—"Dos, cymmer y dyfrlestr, fy hen forwyn dda, ac wedi ei *drochi (bapsas')* ef yn y môr, dwg ef yma."

Aristotle, wrth son am rhyw fath o bysgod neillduol, a ddywed, "nas gallant oddef cyfnewidiadau mawrion, megys cael eu *rhoddi mewn (baptôsin)* dwfr oerach yn yr haf." Y gair a ddefnyddir yma am *roddi mewn dwfr* yw *bapto.* Dywed hefyd fod elephantiaid yn cael eu hiachâu oddiwrth ddolur neillduol, "drwy roddi iddynt ddwfr cynhes i'w yfed, a gwair wedi ei *drochi (baptontes)* mewn mêl i'w fwyta." Nis gall y gair yn yr engraifft hon olygu dim ond fod y gwair yn cael ei drochi yn y mêl; mae yr arddodiad *eis, i'r,* (mêl) yn cau allan y possiblrwydd o un ystyr arall. Nid ei daenellu â mêl na'i wlychu â mêl a gawsai y gwair, ond ei *suddo i'r mêl, (eis meli baptontes).* "Arferiad rhai cenedloedd, (eb efe yn mhellach,) mewn trefn i galedu eu plant yw eu *suddo* (*apobaptein eis*) hwynt i'r afon oer, yn fuan wedi iddynt gael eu geni."

Wrth ddarlunio ymladdfa rhwng Aruns a Brutus, cawn y geiriau hyn yn *Dionysius Halicarnassus:*—"*Suddodd* (*bapsas*) un ei waewffon rhwng asenau y llall, yr hwn ar yr un amrantiad a wthiodd ei un ei hun i berfedd y gelyn."

Sylwer ar yr engraifft a roddwyd yn barod o Eiriadur Liddell a Scott: NAUS EBAPSEN—*soddodd y llong.* Pan y mae llong yn myned i'r gwaelod, rhaid ei bod yn soddi; a *bapto* yw y gair a ddefnyddir i osod hyny allan. Yn Ngeiriadur Parkhurst yr ydym yn cael yr engraifft ganlynol, a'r cyfieithiad o honi fel hyn:—BAPTON OKEANOIO—*ymdrochi yn y cefnfor.*

Gallem ddwyn yn mlaen lu o engreifftiau cyffelyb o'r ysgrifeniadau clasurol i brofi mai ystyr gyntefig a naturiol *bapto* yw trochi neu suddo; ond ymattaliwn, a chyfeiriwn at rai engreifftiau yn y LXX, a'r Testament Newydd, lle y defnyddir ef. Yn nghyfieithiad y Deg a Thrigain defnyddir ef yn fynych mewn cyssylltiad â'r geiriau *taenellu* a *thywallt:* sylwed y darllenydd fod geiriau gwahanol yn cael eu defnyddio am *daenellu* a *thywallt; a pha reswm a ellir ei roddi dros fod geiriau gwahanol i* BAPTO *yn cael eu defnyddio am dywallt a thaenellu, heblaw nad ydyw* BAPTO *byth yn golygu'r naill na'r llall?*

Ceir *bapto* yn y LXX yn yr engreifftiau a ganlyn:—

Ecsod. xii. 22. "A chymmerwch dusw o isop, a *throchwch* (Gr. *bapsantes;* Heb. *tabal,**) ef yn y gwaed," &c.

Lev. iv. 6. "A *throched* (Gr. *bapsei;* Heb. *tabal,*) yr offeiriad ei fys yn y gwaed, a *thaenelled (prosranei)* o'r gwaed ger bron yr Arglwydd," &c.

Lev. iv. 17. "A *throched* (Gr. *bapsei;* Heb. *tabal,*) yr offeiriad ei fys yn y gwaed, a *thaenelled* (*prosranei*) ger bron yr Arglwydd," &c.

Lev. ix. 9. "Ac efe a wlychodd (Gr. *drochodd—ebapse;* Beibl Saesonaeg,—"*he dipped his finger in the blood;*" Heb. *tabal,*) ei fys yn y gwaed—ac a *dywalltodd* (*execheen*) y gwaed arall wrth waelod yr allor."

Lev. xi. 32. "Pob llestr pren, neu wisg, neu groen, neu sach, pob llestr y gwnelir dim gwaith ynddo, *rhodder mewn dwfr,*" (Gr. eis hudor *baphêsetai,* yn llythyrenol, *trocher ef i'r dwfr;* Heb. *bammaim ywba*=gwneler iddo fyned i'r dwfr).

Lev. xiv. 6. 51. "A *throched* (Gr. *bapsei;* Heb. *tabal,*) hwynt a'r aderyn byw hefyd yn ngwaed yr aderyn a laddwyd oddiar y dwfr rhedegog, a *thaenelled* (*perirranei*) seithwaith," &c.

Num. xix. 18. "A chymmered isop, a golched un dihalogedig ef mewn dwfr, (Gr. kai *bapsei* eis to hudor aner katharos—*a throched dyn glân ef i'r dwfr;* Beibl Saesonaeg,—"*dip it in water;* Heb. *tabal,*) a *thaenelled* (*perirranei*) ar y babell," &c.

Deut. xxxiii. 24. "Ac efe a wlych ei droed mewn olew," (Gr. *bapsei* en alaio—*efe a drocha ei* droed mewn olew; Beibl Saesonaeg, —"*let him dip his foot in oil;*" Heb. *tabal.*) Yma y mae y fath gyflawnder o olew yn cael ei osod allan drwy ddarlunio ei feddiannydd fel yn *trochi* ei droed ynddo.

Ios. iii. 15. "A phan ddaeth y rhai oedd yn dwyn yr arch hyd yr Iorddonen, a *gwlychu* o draed yr offeiriaid—yn nghwr y dyfroedd," (Gr. *ebaphêsan* eis meros tou hudatos tou Jordanou—a thraed yr offeiriaid *a drochwyd i gwr dwfr yr Iorddonen;* Beibl Saesonaeg,— "*and the feet of the priests—were dipped in the brim of the water;*" Heb. *tabal.*) Fod y gair *bapto* yn yr adnod yma yn golygu fod yr offeiriaid wedi trochi eu traed i ddyfroedd yr afon sydd ddiammheuol; nis gall fod yma na thywallt na thaenellu, ond eu suddo i'r dwfr.

Ruth ii. 14. "*Gwlych* dy damaid yn y finegr," (Gr. bapseis—ti a *drochi* dy damaid yn y finegr; Beibl Saesonaeg,—"*dip thy morsel in the vinegar;*" Heb. *tabal.*) Mae yr ystyr yma yn hollol eglur. Gan mai y dyben mewn golwg wrth *drochi* y tamaid yn y finegr oedd ei *wlychu,* darfu i'r cyfieithwyr gyfieithu y gair Hebraeg *tabal,* am yr

---

* טבל (TABAL)=*To dip in.* 2. K. 5. 14. he went down, *vayyitebbol bayyarden shabae peamin* and dipped in the Jordan seven times.—*Gesenius's Hebrew Lexicon.*

טבל (TABAL)=*To dip, immerge, plunge.* 2. *To tinge* or *dye with* a certain colour, which is usually done by *dipping.* It occurs as a Part. Paoul. Ezek. xxiii. 15. So LXX *parabapta,* or (according to the *Alexandrian* copy) *baptai,* and Vulg. tinctas.—*Parkhurst's Heb. Lexicon.*

hwn y saif *bapto* yn y LXX, yn wlychu. Er hyny *trochi* a ddylasai fod.

1 Sam. xiv. 27. "Ond Jonathan ni chlywsai pan dynghedasai ei dad ef y bobl: am hyny efe a estynodd flaen y wialen oedd yn ei law, ac a'i *gwlychodd* yn nil y mêl," (Gr. *ebapsen* auto *eis* to kêrion tou melitos—a'i *trochodd* i'r dil mêl; Beibl Saesonaeg,—"*and dipped it in an honeycomb;*" Heb. *tabal.*) Yma mae *bapto* yn cael ei ddefnyddio am *drochi* blaen y wialen *yn* y dil mêl.

2 Bren. viii. 15. "A thrannoeth efe a gymherth wrthban, ac a'i *gwlychodd mewn dwfr,*" (Gr. *ebapsen en to hudati*—a'i *trochodd* mewn dwfr; Beibl Saesonaeg,—"*and dipped it in water;*" Heb. *tabal.*) Yn yr adnod hon eto golyga *bapto ddodi peth mewn dwfr.*

Iob ix. 31. "Eto ti a'm *trochi* yn y pwll." (Gr. *ebapsas;* Heb. *tabal.*)

Salm lxviii. 23. "Fel y *trocher* dy droed yn ngwaed dy elynion." (Gr. *baphê;* Heb. *machaz,=to plunge in* or *imbrue.—Parkhurst's Heb. Lexicon.*)

Dan. iv. 23. v. 21. "*Gwlychwyd* ei gorph ef gan wlith y nefoedd," (Gr. *apo........ebaphê,=a drochwyd* yn ngwlith y nefoedd.) Mae *gwlychu* yn air rhy ddôf a marwaidd o lawer i osod allan nerth yr ymadrodd a bywiogrwydd y desgrifiad. Cafodd y brenin ei amgylchu a'i orchuddio, megys â llifeiriant, gan y gwlith tew a thrwm a ddisgynai ar y parth hwnw o'r ddaear.

Dygwydda y gair yn y Testament Newydd yn y lleoedd canlynol:—

Luc xvi. 24. "O dad Abraham, trugarha wrthyf, a danfon Lazarus, i *drochi* (Gr. *bapsê*) pen ei fys mewn dwfr," &c.

Ioan xiii. 26. "Hwnw yw efe i'r hwn y rhoddaf fi damaid wedi i mi ei *wlychu* (Gr. *bapsas*). Ac wedi iddo *wlychu* (Gr. *embapsas*) y tamaid, efe a'i rhoddodd i Judas Iscariot." Defnyddir *bapto* ac *embapto* yma yn gyfystyr, a dynodant waith Iesu yn trochi y tamaid yn y cyffaeth sur oedd yn y ddysgl. Dywed Dr. Bloomfield ar yr adnod hon, fod y gair a gyfieithir "tamaid" yn golygu darn o unrhyw beth, yn neillduol o ryw ymborth; a'i fod yn golygu yma ddarn o gig neu fara wedi ei *drochi* yn saws (*sauce*) oen y Pasc.

Dad. xix. 13. "Ac yr oedd wedi ei wisgo â gwisg wedi ei *throchi* mewn gwaed," (Gr. *bebammenon* haimati). Darlunir y Gwaredwr yma yn myned allan i ddinystrio ei elynion, ac fel arwyddlun o'i waith, gosodir ef allan mewn gwisg goch, fel pe buasai *wedi cael ei throchi mewn gwaed.*

Wele y prawf (*evidence*) o flaen y darllenydd o barthed i'r gair *bapto;* y mae ei farn bellach, ni a gredwn, yn rhwym o fod yn argyhoeddedig mai trochi yw ystyr naturiol ac arferol y gair.

Ond yr ydym wedi gweled hefyd yn y Geiriaduron dyfynedig mai ystyr ailraddol *bapto* yw *lliwio,* a hyny am mai trwy drochi y byddid arferol o liwio. Ymddengys hefyd i'r gair mewn amser ddyfod i olygu *lliwio* heb gyfeiriad uniongyrchol at y dull, fel mae'r gair cannwyllbren yn golygu yr hyn sydd yn dal cannwyll, heb olygu *pren* i ddal y gannwyll, cyffelyb i'r hwn a ddefnyddiai ein cyndadau.

Dywedwn cannwyll*bren* pryd mai *aur* ydyw. Eto y mae y gair *cannwyllbren* yn cyfeirio at adeg pryd y defnyddid ffon i ddal y goleu, fel y mae y gair *bapto*, hyd y nod pan yn golygu *lliwio*, yn cyfeirio at ei brif ystyr, o'r hwn y tarddodd ei ystyr ailraddol.

Ond nid yw yr ystyr ailraddol yma o *bapto*, modd bynag, yn effeithio dim ar ordinhad Crist, gan na ddefnyddir ef o gwbl yn y Testament Newydd am fedyddio. Cafodd y tarddair *baptizo* ei ffurfio i reoleiddio ystyr bapto. Nid oes i baptizo ond un ystyr—*trochi, tansuddo, neu achosi i fod yn orchuddiedig;* gan gyfateb i ystyr flaenaf a naturiol y gair bapto, yn ol fel y rhoddir ef gan y Geiriaduron.

---

## NODIAD YCHWANEGOL.

### CYSTRAWIAD BAPTO GYDA'R ARDDODIAD APO.

Gwrthddadleuir gan Moses Stuart ac ereill, oddiwrth y defnydd a wneir o'r arddodiad *apo* mewn cyssylltiad â *bapto* yn y LXX, fod *bapto* yn golygu *llychwino* mewn rhai o'r lleoedd a ddyfynwyd, megys Ecsod. xii. 22., Lef. iv. 17. xiv. 16., "A chymmerwch dusw o isop, a *throchwch* (Gr. *bapsantes*, Heb. *tabal*,) ef *yn y gwaed*,"=*apo tou haimatos*. Gyda golwg ar hyn, sylwer,

1. Fod y Septuagint yn gyfieithiad o'r Hebraeg, a'i ystyr, i raddau helaeth, i gael ei esbonio yn ol rheolau yr iaith Hebraeg, ac nid yn ol deddfau yr iaith Roeg.

2. Mai cyfieithiad o'r arddodiad Hebraeg *min* (מן) yw *apo* mewn dau o'r lleoedd dan sylw; yr Hebraeg yw טבל......מן הדם (*tabâl min haddâm*), &c.

3. Gan hyny, fod ystyr y frawddeg βάψει ἀπὸ τοῦ αἵματος i gael ei benderfynu wrth ystyr yr Hebraeg gwreiddiol.

Medda *min* yn yr Hebraeg yn fynych ystyr ddosbarthol (*a partitive meaning*); hyny yw, *dangosa mai rhan o'r hyn a enwir a ddefnyddid.* Cyfieithir ef felly yn y Beibl Saesonaeg yn Lef. iv. 17., "*And the priest shall dip his finger in* SOME *of the blood*=A throched yr offeiriad ei fys mewn PETH o'r gwaed." Fel hyn y deallir ac yr esbonir ef gan y dysgedigion goreu, megys Michaelis, Augusti, De Wette, Ainsworth, a Boothroyd, a'r prif Eiriadurwyr Hebreig, megys Gesenius, Proff. Lee, a Dr. Davies.

Sylwer hefyd fod yr un weithred yn cael ei gosod allan yn Lef. iv. 6. drwy y geiriau Heb. וטבל......בדם; LXX, βάψει ἐν τῷ αἵματι, hyny yw, "Ac efe a drocha....yn y gwaed," ag a osodir allan yn

Lef. iv. 17. drwy'r geiriau Heb. וטבל... ..מן הדם; LXX, *βαψει ἀπὸ τοῦ αἵματος*=" Ac efe a drocha....i *beth* o'r gwaed."

Mae gwahaniaeth cyffelyb yn llyfr Daniel yn nghystrawen y Caldeaeg a'r Groeg (LXX), lle y sonir am drochiad corph Nebuchodonosor mewn gwlith. Yn Dan. iv. 15. 23. ceir y geiriau yn y Caldeaeg yn cyfateb i'r cystrawiad arferol am *drochi mewn;* (ni ddygwydd *bapto* yn yr adnodau hyn yn y Groeg ;*) ond yn iv. 33. a v. 21. *min* a geir gyda'r ferf yn y Caldeaeg, ac *apo* gyda *bapto* yn y Groeg. Y cyfieithiad caeth o honynt fyddai—"*a drochwyd mewn rhan o wlith y nefoedd,*" ar yr un egwyddor â'r cyfieithiad a roddwyd o Lef. iv. 17. Yr un modd y rhaid i ni hefyd ddeall y cystrawiad yn Luc xvi. 24., " Danfon Lazarus i drochi pen ei fys mewn dwfr," Gr. *βαψῃ.... ὕδατος*=*in some water*, "*in a small portion of water,*" *mewn ychydig ddwfr*. (Robinson's Lexicon, Bapto. Ed. 1841.).

Gwel Winer's *Grammar of New Testament Greek*. § 30. 8. b. Nid oes y gradd lleiaf o rym, gan hyny, yn yr wrthddadl a godir oddiwrth y ffaith fod *apo* yn cael ei gystrawenu weithiau gyda *bapto*. Gwel Dr. Ripley's "*Examination of Stuart's Essay on the Mode of Baptism,*" p. 22., a'r "*Act of Baptism*, pp. 14, 15.

---

* Gwel yn mhellach ar hyn mewn pennod ddilynol.

# PENNOD II.

## BAPTIZO YN YR YSGRIFAU CLASUROL, Y LXX, A JOSEPHUS.

---

*Y gwahaniaeth rhwng Bapto a Baptizo—Geiriaduron Greenfield, Liddell a Scott, Parkhurst, Schrevelius, Dr. Edward Robinson, &c., ar Baptizo—Engreifftiau o Baptizo mewn gwahanol Awdwyr—Nodiadau ar yr Engreifftiau.*

GAN mai nid bathu (*coin*) gair newydd i osod allan yr ordinhad o fedydd a ddarfu yr Arglwydd Iesu, ond mabwysiadu gair fuasai mewn hir arferiad, y ffordd, gan hyny, i gael allan ystyr y cyfryw air yw gwneyd ymchwiliad i'r engreifftiau lle y defnyddir ef. Sylwyd yn barod fod gwahaniaeth rhwng *bapto* a *baptizo*. *Nid yw bapto yn un man yn y Testament Newydd yn cael ei ddefnyddio i osod allan yr ordinhad o fedydd, ac nid ydyw baptizo yn golygu lliwio.* Y mae i bapto, ynte, ddau ystyr,—y cyntaf i *drochi;* yr ailraddol i *liwio*. Ond nid oes i *baptizo* ond un ystyr. Golyga *drochi, suddo,* neu *dansuddo;* weithiau *suddo trwy orchuddio*, neu *achosi i fod yn suddedig* neu *orchuddiedig*, megys pan y suddir neu y gorchuddir y traeth gan lanw y môr (gwel Dosran II. 1. o'r bennod hon); neu mewn modd ffugyrol, pan y gorchuddir yr enaid â dylanwadau Ysbryd Duw. (Dosran II. 9.) Ni ddefnyddir ef ond yn yr ystyr yma. Nis gellir dwyn un engraifft yn mlaen o ysgrifeniadau Groegaidd yn mha rai y golyga unrhyw olchiad neu buredigaeth ag sydd yn cynnwys llai na throchiad neu dansuddiad cyflawn yr holl gorph.

Y mae i bob un o'r ddau air *bapto* a *baptizo*, gan hyny, ei faes neillduol ei hun, i'r hwn nis gall y llall anturio; tra mae maes cyffredin yn yr hwn y gall unrhyw un o honynt wasanaethu. Gall y naill neu'r llall o honynt olygu trochi, yn gyffredinol; ond nis gall y gwreiddair osod allan yn neillduol yr ordinhad i'r hon y mae y tarddair wedi ei gymhwyso; ac nis gall y tarddair olygu *lliwio*, yr hyn sydd ran o faes y gwreiddair.

Mae yr athronydd dysgedig, a'r duwinydd craffus, Dr. Carson, yn nodi gwahaniaeth arall rhwng BAPTO a BAPTIZO, trwy sylwi fod y terfyniad zo, pan yn cael ei ddefnyddio i ffurfio tarddair, yn ateb dyben cyffelyb i'r ffurf achosol Hebreig, ac yn golygu *achosi* i'r weithred gymmeryd lle. Er engraifft:—YATZA—*myned allan;* Hiphil, neu y modd achosol—*achosi i fyned allan=arwain;* KADASH—*bod yn santaidd;* modd achosol—*achosi i fod yn santaidd=santeiddio.* Ystyria Dr. Carson fod amryw o'r tarddeiriau Groegaidd wedi eu ffurfio ar yr egwyddor hon, a noda yr engreifftiau canlynol

fel egluriadau a phrofion:—PLOUTEO—*bod yn gyfoethog;* PLOUTIZO—*achosi i fod yn gyfoethog=cyfoethogi;* DEIPNEO—*swpera;* DEIPNIZO, *rhoddi swper.* Gan hyny, yn ol y dyb hon, golygai *baptizo* ar y cyntaf *achosi i wrthddrych fod yn drochedig;* a defnyddid ef am drochiad pethau rhy drymion i ddyn eu dal yn ei ddwylaw. Ond gan nad beth a all fod y rheswm dechreuol o'r gwahaniaeth rhwng gwreiddeiriau a tharddeiriau, y mae y gwahaniaeth rhwng *bapto* a *baptizo* yn eglur; nid ydyw *baptizo* yn golygu *lliwio*, ond, fel y cawn ddangos, y mae bob amser yn gosod allan *drochi*, neu *suddo trwy orchuddio*, neu *achosi i fod yn suddedig.*

Dywed Moses Stuart "FOD YR HOLL EIRIADURWYR A'R BEIRNIAID O UNRHYW ENWOGRWYDD" yn cytuno fod y geiriau *bapto* a *baptizo* yn golygu *trochi, suddo, tansuddo.** Dywed Liddell a Scott mai ystyr

---

*Gan y byddwn yn cyfeirio yn fynych yn nghorph y traethawd hwn at dystiolaeth geiriaduron y Taenellwyr, dichon y byddai yn ddoeth rhoddi erthyglau dau neu dri o honynt yn gyflawn ar y gair *Baptizo* i mewn.

W. GREENFIELD'S *Greek Lexicon.*—BAPTIZO.—To immerse, immerge, submerge, sink: in the New Testament to wash, perform ablution, cleanse, Mark vii. 4. Luke xi. 38.; to immerse, baptize, administer the rite of baptism, Mark i. 4. et al.; *with the accessory idea of obligation imposed,* to bind to the performance of some duty, to impose obligation by baptism, Mat. iii. 11. Luke iii. 16. John iv. 1. et al.; pass. to receive the rite of baptism, be baptized, Mark xvi. 16.; seq. *eis*, to be baptized to *any one*, to bind one's self to honour, obey, and follow any one, Rom. vi. 3. 1 Cor. x. 2. Gal. iii. 27.; seq. *eis to onoma tinos*, Acts xix. 5., &c., met. to overwhelm *one with any thing*, to bestow liberally, imbue largely, Mat. iii. 11. Mark i. 8. Luke iii. 16.; pass. to be immersed in, or overwhelmed with miseries, oppressed with calamities, Mat. xx. 22, 23. Mark x. 38, 39. Luke xii. 50. *whence Baptisma*, what is immersed, hence, immersion, baptism, ordinance of baptism.

LIDDELL & SCOTT'S *Greek Lexicon. Fourth Edition.*—BAPTIZO.—*To dip under;* of ships. *to sink* them, Polyb. 2. 51. 6., &c., *ebaptisan tên polin*, metaph. of the crowds who flocked into Jerusalem at the time of the siege. Joseph. B. J. Pass. *to bathe.* Eubul. Naus I.; *hoi bebaptismenoi*, soaked in wine, Lat. *vino madidi;* Plat. Symp. 176. B.; *ophlemasi beb.* over head and ears in debt, Plut. Galb. 21.; *meirakion baptizomenon*, a boy *drowned* with questions, Heind. Plat. Euthyd. 177. D. II. *To draw water*, Plut. Alex. 67. cf. *bapto.* III. *To baptize*, N. T.

PARKHURST'S *Greek and English Lexicon to the New Testament*, (*Ed.* 1812.)—BAPTIZO.—I. To *dip, immerse*, or *plunge* in water. But in the New Testament it occurs not strictly in this sense, unless so far as is included in sense II. & III. below.

II. *Baptizomai*, Mid. and Pass. To wash oneself, be washed, wash, that is, the hands by *immersion* or *dipping* in water. Mark vii. 4. Luke xi. 38.

The LXX use *baptizomai*, Mid. for *washing oneself by immersion*, answering to the Heb. *tabal.* 2 Kings v. 14. Comp. v. verse 10. Thus also it is applied in the apocryphal books, Judith xii. 7. Eccles. xxxiv. 25.

III. To baptize, to immerse in, or wash with water, in token of purification from sin and from spiritual pollution. *Baptizomai*, Pass. denotes the voluntary reception of baptism, to be baptized, &c.

*baptizo* yw *trochi* a throchi yn unig. Dywed Greenfield mai ei ystyr yw *soddi*, *trochi*, *tansoddi*, *suddo*, ac mai yr un peth yw *trochi* a *bedyddio*.

---

IV. *To baptize*, as the Israelites were into Moses in the cloud and in the sea, occ. 1 Cor. x. 2. They were baptized *into Moses*, that is, into that covenant, and into obedience to those laws, which Moses delivered them from God; so *baptizesthai eis Christon*, is rendered *to be baptized into Christ*, and signifies to be baptized into the profession of Christ's laws and doctrine, in Rom. vi. 3. and Gal. iii. 27.

V. In a figurative sense, *To baptize* with the Holy Ghost. It denotes the miraculous *effusion* of the Holy Ghost upon the apostles and other believers, as well as on account of the *abundance* of his gifts (for anciently the water was *copiously* poured on those who were baptized, or they themselves were *plunged* therein,) as of the virtue and *efficacy* of the Holy Spirit, who like *living water refresheth*, *washeth away pollutions*, *cleanseth*, *&c.*

VI. Figuratively, *To be immersed or plunged* in a flood, or sea, as it were, of grievous afflictions and sufferings, Mat. xx. 22, 23. Mark x. 38, 39. Luke xii. 50. The LXX use it in a like view for the Heb. *baath*, to *terrify*, *affright*, Isa. xxi. 4. *He anomia me baptizei*, Iniquity *plungeth* me, that is, into *terror* or *distress*. So *Josephus* De Bel. lib. iv. cap. 3. § 3. says of the robbers who crowded into Jerusalem that EBAPTISAN *tên polin*, They *plunged* the city, namely into calamities.

SCHREVELIUS' *Greek Lexicon, by Dr. Major.*—BAPTIZO.—To baptize, dip, immerse, wash, cleanse.

ROBINSON'S *Greek Lexicon to the New Testament.*—BAPTIZO.—To dip in, to sink, to immerse, in Gr. writers spoken of ships, galleys, &c., c. acc. Pol. 2. 51. 6. *kai polla tôn skaphôn ebaptizon.* Of animals, Diod. Siculus, i. 36. *tôn de chersaiôn theriôn ta polla men hupo tou potamou perilephthenta diaphtheiretai baptizomena.* Pol. v. 47. 2. of horses sinking in a marsh. Also of men, Jos. Ant. 15. 3. 3. *barountes aei kai baptizontes hôs en paidia nêchomenon;* or partially, to the breast, Pol. 3. 72. 4. Strabo, 14. p. 667. Also to *dip in* a vesel, to *draw* water, Plut. Alex. M. 67.

Wele dystiolaeth Geiriadurwyr enwog am ystyr baptizo; maent oll yn gyflawn oddi eithr eiddo Dr. Robinson; mae ei erthygl ef yn rhy faith i ni ei throsglwyddo i'n tudalenau. Ond gellir dweyd ei bod yn sylweddol, (a gellir dweyd yr un modd am erthyglau Dr. S. T. Bloomfield, a'r Parch. Thos. Sheldon Green, M.A., yn eu *Greek and English Lexicons to the New Testament*,) yr un peth ag erthyglau Greenfield a Parkhurst yn y rhestr uchod. Dengys yr uchod beth yw barn Dr. Robinson fel *ysgolhaig* am y gair; y mae ei resymau dros ddweyd nad ydyw y gair i'w gymmeryd yn yr ystyr uchod yn y Testament Newydd, yn cael eu hystyried yn y bennod uwch ben y nodiad hwn.

Oddiwrth dystiolaethau y Geiriadurwyr uchod, mae yn amlwg

1. Eu bod yn rhoddi *trochi* fel prif ystyr *baptizo.*
2. Nad oes yr un o honynt yn rhoddi *taenellu* yn ystyr iddo.
3. Mai eu sail dros roddi *golchi* neu *lanhau* yn ystyr iddo yw Marc vii. 4. a Luc xi. 38., lle y golyga y gair *drochi* neu *ymdrochi*, fel y cawn ddangos eto.
4. Fod y defnydd ffugyrol o hono yn cael ei esbonio ganddynt yn ngoleu yr ystyr lythyrenol o *drochi.*
5. Mai golygiadau *duwinyddol* yr awdwyr sydd yn achosi eu bod yn rhoddi mwy nag un ystyr i *baptizo*, ac nid eu hargyhoeddiad fel *ysgolheigion;* ac oblegyd hyny, na ddylid derbyn eu tystiolaeth fel oracl anffaeledig, yn annibynol ar brawf, gan nad ydyw gwirionedd yn galw am i'r ysgolhaig wrthddweyd y duwinydd, ac ymgolli ynddo.

Dywed Dr. Robinson mai ystyr *baptizo* yn yr ysgrifeniadau Groegaidd o Plato i lawr yw *trochi*, *suddo*, *tansuddo*, *gorchuddio*, naill ai yn gyflawn neu yn rhanol, a dyfyna engreifftiau i egluro yr ystyron hyn. Ond yn mherson y Doctor, rhaid i'r duwinydd gael gwrthddweyd yr ysgolhaig. Ar ol yr erthygl ar y gair BAPTIZO, y mae gan yr awdwr nodiad yn yr hwn y dywed, er fod *baptizo* yn yr ysgrifau Groegaidd o Plato yn mlaen, *yn mhob man* yn golygu *suddo*, *tansuddo*, neu *orchuddio*, eto nad ydyw bob amser yn golygu trochiad pan yn cyfeirio at fedydd. Ei resymau dros ddweyd hyn yw,

1. Y golchiadau Iuddewig. (Luc xi. 38. Marc vii. 2—4.) Cawn brofi wrth fyned yn mlaen fod *baptizo* yn y lleoedd hyn yn golygu *trochi*, neu *olchi trwy drochiad.*

2. Prinder dwfr yn Ierusalem. Cawn ddangos wrth fyned rhagom, *o waith y Dr. Robinson ei hun*, wendid ei wrthddadl.

3. Fod *baptizo* yn cael ei *drosglwyddo* yn lle ei gyfieithu yn yr hen gyfieithiadau Lladinaidd o'r Testament Newydd, ac nad ydyw byth yn cael ei gyfieithu *immergo.* Sylwer

(1,) Pan gyfieithid yr Ysgrythyr gyntaf i'r Lladin, fod y gair baptizo wedi cael ei gyssylltu yn y fath fodd â'r ordinhad, ac wedi dyfod i arferiad mor gyffredin yn mhlith y bobl er mwyn y rhai y cyfieithid yr Oraclau Dwyfol, fel ag i gael ei drosglwyddo yn naturiol, yn hytrach na'i gyfieithu. *Yr oedd y Lladinwyr yn cyssylltu yr un ystyr ag ef a'r Groegiaid, ac oblegyd hyny nid oedd eisieu ei gyfieithu.*

(2,) Yr oedd yr hen ysgrifenwyr Lladinaidd, yn defnyddio geiriau i arwyddo *trochiad*, pan yn son am fedydd. Tertullian, yr hwn a anwyd tua chanol yr ail ganrif a ddefnyddiai TINGERE a MERGITARE, *trochi*, *tansoddi*, i osod allan yr ordinhad. "Oni wyddoch chwi am gynnifer o honom ag a drochwyd (*tincti sumus*) i Grist Iesu, ein bod wedi ein trochi (*tincti sumus*) i'w farwolaeth ef?" Pan yn son am y commisiwn defnyddia y geiriau hyn:—"Oblegyd sefydlwyd cyfraith trochiad (*tinguendi*), a threfnwyd ei ffurf:—"Ewch (eb efe), dysgwch y Cenedloedd, gan eu trochi (*tinguentes*) hwy yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân." "Suddir ni yn y dwfr," (*in aqua mergimur*) meddai, mewn lle arall. Darllena Cyprian, yr hwn a anwyd tua diwedd yr ail ganrif, y commisiwn yn Matthew fel hyn:—"Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl Genedloedd, gan eu trochi (*tingentes*) hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân." Wrth gyfeirio at Gal. iii. 27., dywed fel y canlyn:—"Oblegyd os nad yw yr apostol yn dweyd anwiredd pan y dywed, 'Cynnifer o honoch ag a DROCH-

WYD (*tincti estis*) i Grist, a wisgasoch (*induistis*) Grist;' yna yn sicr y mae efe, yr hwn a fedyddiwyd (*baptizatus est*) yn Nghrist, wedi gwisgo Crist."

(3,) Yn y cyfieithiadau cyntefig o'r Ysgrythyrau i'r ieithoedd Dwyreiniol, cyfieithid *baptizo* i eiriau yn arwyddo trochiad, fel y dengys y daflen ganlynol:—

| *Cyfieithiad.* | *Amseriad.* | *Y Gair a ddefnyddir.* | *Ystyr.* |
|---|---|---|---|
| SYRIAEG: | | | |
| Peshito | Ail ganrif | Amad | Trochi. |
| Philoxenian | Chweched ganrif | " | " |
| AIPHTAIDD: | | | |
| Coptaeg | Drydedd ganrif | Omas | " |
| Sahidiaeg | Ail ganrif | Baptize | " |
| Basmuricaeg | Drydedd ganrif | | |
| Ethiopaeg | Bedwerydd ganrif | Tamaka | " |
| Gothaeg | " | Daupjan | " |
| Armeniaeg | Bummed ganrif | Mogredil | " |

(*Gotch's Critical Examination of the rendering of the word* BAPTIZO, *&c.*, p. 50.)

4. Y pedwerydd rheswm yw, Nad ydyw yr hen fedyddfanau a geir yn adfeilion hen eglwysi Groegaidd yn Mhalestina, yn ddigon eu mhaint i drochi *dyn mewn oed.*

Nid oes un cyssylltiad rhwng yr wrthddadl hon ag *ystyr y gair baptizo.* Cydnabydda y Bedyddwyr fod bedydd babanod wedi llusgo i mewn i'r eglwysi yn raddol o'r rhan ddiweddaf o'r drydedd ganrif yn mlaen, ac nid yw Dr. Robinson yn awgrymu nad oedd yr hen fedyddfanau a welodd yn ddigon ëang i drochi babanod a phlant ynddynt. Ond fe ddarganfyddwyd bedyddfanau ereill yn Mhalestina, ar ol ymchwiliadau pwysig a gwerthfawr Dr. Robinson i hynafiaethau y wlad hòno. Darganfyddwyd yn ddiweddar y ffynnon neu y fedyddfa ag oedd yn nglyn âg eglwys gadeiriol Tyrus, yr hon a agorwyd tua'r flwyddyn 315, A.D., ac ar agoriad pa un y pregethodd yr hanesydd eglwysig Eusebius. Ychydig flynyddau yn ol, yr oedd y Parch. Dr. Fish, America, yn myned trwy yr adfeilion o dan arweiniad Proffeswr Sepp, yr hwn oedd yn archwilio y lle o dan nodded llywodraeth Germani, a dyry efe ei maintioli fel y canlyn:—Hyd, 5 troedfedd a chwe' modfedd; dyfnder, 3 troedfedd, gyda phump o risiau yn arwain i lawr. (Gwel *Dr. Cote's Archæology of Baptism*, pp. 325—328.)

Yr awdurdod uchaf yw yr ystyr a roddai y Groegiaid eu hunain i'r gair dan sylw. Appeliwn atynt. Ein hamcan wrth wneyd yw galluogi y darllenydd i weled beth yw y gwirionedd ar y pwnc; gan hyny, erfyniwn ei sylw diduedd at yr engreifftiau a osodir ger ei fron.

I. Engreifftiau o Dansuddiad Rhanol.

1. *Polybius*, *Hanesiaeth*, *Llyfr* 34, *Pennod* iii. 9 :—"Aethant trwodd gydag anhawsdra, y traedfilwyr yn *suddedig* (Groeg, *baptizomenoi*,) hyd at eu bronau."

2. *Strabo*, *Daearyddiaeth*, *Llyfr* 12. *Pennod* iii. 9 :—"Dygwyddodd Alexander fod yno ar y tymhor tymhestlog, a chan yr ymddibynai, gan mwyaf, ar ddamwain, aeth rhagddo cyn i'r llanw gilio, a cherddasant trwy y dydd mewn dwfr, *gan fod yn suddedig* (Gr. *baptizomenôn*,) hyd eu canol."

3. *Porphyry*, *wrth son am yr Ystawch*, (un o afonydd uffern yn chwedloniaeth y Groegiaid,) a ddywed :—"Mae y dyfnder yn cyrhaedd at y gliniau; a phan y daw y cyhuddedig ati, os ydyw yn ddieuog, efe a â drwyddi heb ofn, a'r dwfr yn cyrhaedd hyd at y gliniau; ond os ydyw yn euog, ar ol myned rhagddo ychydig, *efe a suddir* (Gr. *baptizetai*,) hyd at y pen."

4. *Heliodorus*, *yn ei Aethiopics*, *Llyfr* 5, *Pennod* xxviii. a ysgrifena :—"A chan *eu bod yn barod yn suddo*, (Gr. *baptizomenôn*,) ac heb ond ychydig rhyngddynt a myned i'r gwaelod, darfu i rai o'r môr-ladron ar y dechreu geisio dianc, a myned ar fwrdd eu llestr eu hunain."

5. *Achilles Tatius*, *Hanes Clitophon a Leucippe*, *Llyfr* 3, *Pennod* i: —"Darfu i ni oll, gan hyny, symmud ein safle i'r rhan uchaf o'r llong, fel ag y gallem ysgafnhau y rhan hòno o'r llong ag oedd *yn suddedig*." (Gr. *baptizomenôn*.)

II. Engreifftiau o Dansuddiad Cyflawn a Hollol.

1. *Aristotle*, *ar Adroddiadau Rhyfedd*, *Rhif* 136 :—"Dywedir fod y Phoeniciaid, y rhai a breswyliant y wlad a elwir Gadira, wrth hwylio am bedwar diwrnod o'r tu allan i Golofnau Hercules gyda'r Dwyreinwynt, yn dyfod i leoedd diffaeth, llawn o frwyn a môr-chwyn; y rhai nad ydynt ar y trai yn *suddedig*, (Gr. *baptizesthai*,) ond ar y llanw a *orchuddir*." (Gr. *katakluzesthai*.)

2. *Lucian*, *ar Timon*, *y Dyn-gashäwr*, 44 :—"Pe byddai i afon y gauaf gludo dyn ymaith, ac iddo yntau, gan ledu ei ddwylaw, ddymuno cymhorth, myfi a wthiwn ei ben i lawr, *gan ei suddo* (Gr. *baptizonta*,) fel nas gallai godi mwy."

3. *Dion Cassius*, *Hanes Rhufain*, *Llyfr* 37, *Pennod* lviii. wrth ddesgrifio effeithiau tymhestl, a ddywed :—"Diwreiddiwyd llawer iawn o goed, a thaflwyd llawer o dai i lawr; a *soddwyd* (Gr. *baptisthênai*,) y llongau oedd yn y Tiber, ac yn gorwedd wrth angor yn ngenau yr afon a cherllaw y ddinas, a dinystriwyd y bont goed."

4. *Himerius*, *Detholion*, 15, § 3, wrth son am Themistocles, a ddywed :—"Yr oedd efe yn fawr yn Salamis, oblegyd wrth ymladd yno efe a *soddodd* (Gr. *ebaptise*,) holl Asia," hyny yw, i warth.

5. *Engreifftiau o Josephus:—*

(*a*,) *Rhyfel yr Iuddewon, Llyfr* 3, *Pennod* ix. 3:—"A'r dòn, gan ymgodi yn uchel, a *soddodd* (Gr. *ebaptisen*,) lawer (o'r llongau), y rhai a ymladdent yn erbyn y llif gwrthwynebol, gan fyned tua'r môr agored, oblegyd yr oeddynt yn ofni y traeth, am ei fod yn greigiog, a'r gelynion arno."

(*b*,) *Rhyfel yr Iuddewon, Llyfr* 4, *Pennod* iii. 3:—Wrth son am y lladron yn Jèrusalem, dywed:—"Y rhai, hyd y nod ar wahan i'r terfysg, a *soddasant* (Gr. *ebaptisan*,) y ddinas," hyny yw, i drallodion a dinystr.

(*c*,) *Eto, Rhyfel yr Iuddewon, Llyfr* 3, *Pennod* x. 9:—Wrth ddesgrifio brwydr rhwng y Rhufeiniaid a'r Iuddewon ar Fôr Galilea, ysgrifena:—"A phan yr anturiasant ddyfod yn agos, derbyniasant niwaid cyn gallu ei achosi, ac yr *oeddynt yn cael eu suddo* (Gr. *ebaptizonto*,) gyda'u llongau; a chynnifer o'r rhai *a soddasid* (Gr. *baptisthentôn*,) ag a godasant eu penau, naill ai darfu i saeth eu cyrhaedd, neu long eu goddiweddyd."

(*d*,) *Hynafiaethau yr Iuddewon, Llyfr* 9, *Pennod* x. 2:—Wrth son am ffoedigaeth Jonah, a ddywed:—"Yr oedd y llong *ar soddi*." (Gr. *baphtizesthai*.)

(*e*,) *Ei Fywyd ei Hun*, § 3:—"Oblegyd fod ein llong *wedi soddi* (Gr. *baptisthentos*,) yn nghanol y Môr Adriataidd, a ni tua chwe' chant mewn nifer, ni a nofiasom ar hyd y nos."

6. *Æsop, Chwedl y Bugail a'r Môr:*—"Gan fod tymhestl yn dyfod, a'r llong mewn perygl i *suddo*, (Gr. *baptizesthai*,) efe a daflodd yr holl lwyth i'r môr, ac a ddiangodd gydag anhawsdra i long arall."

7. *Heliodorus, Aethiopics, Llyfr* 1, *Pennod* xxx:—"Yr oedd yn eglur fod pob ffurf o ryfel yn cael ei harfer; gwrthsafai y brodorion, ar un llaw, yr ymosodiad gyda brwdfrydedd ac â'u holl egni; tra yr oedd y lleill, ar y llaw arall, gan feddu y fantais mewn rhif ac o herwydd sydynrwydd yr ymosodiad, yn lladd rhai ar y tir, ac yn *suddo* (Gr. *baptizontôn*,) ereill gyda'u cychod a'u lluestai i'r llyn."

8. *Y LXX*,* *Esaiah* xxi. 4:—"Y mae anwiredd *yn fy soddi*," (Gr.

---

* Yr oedd pedwar o gyfieithiadau o'r Hen Destament i'r Groeg; y cyntaf oedd y *Septuagint*, yr hwn a adnabyddir wrth y llythyrenau LXX, ac a wnaed tua 280 cyn Crist; yr ail oedd cyfieithiad *Aquila*, yr hwn a wnaed tua'r flwyddyn O.C. 130; y trydydd oedd eiddo *Theodotian*, O.C. 180; a'r pedwerydd oedd eiddo *Symmachus*, O.C. 254. Ceir y gair *baptizo* yn nghyfieithiadau *Aquila* a *Symmachus:—*

*Cyfieithiad* AQUILA,—Iob ix. 31. "Hyd y nod y pryd hyny ti a'm *trochi* mewn llygredigaeth." *(Kai tote en diapthora* BAPTISEIS *me.)* Yn yr un lle ceir *bapto* yn y LXX.

*baptizei,*) hyny yw, *i ddychryn a chyfyngder*, fel yr awgryma Parkhurst, neu *i ddinystr*, fel yr esbonia Dr. Bloomfield.

9. *Theophylact, ar Mat.* iii. 11:—"Efe a'ch *trocha* (Gr. *baptisei,*) chwi yn yr Ysbryd Glân. Hyny yw, efe a'ch *gorchuddia* chwi *yn helaeth* (Gr. *kataklusei aphthonôs,*) gyda grasusau yr Ysbryd."

III. Engreifftiau o Dansuddiad Byr-barhaol.

1. *Josephus, Hynafiaethau yr Iuddewon, Llyfr* 15, *Pennod* iii. 3:—"Gan ei wthio ef (sef Aristobulus) i lawr yn barhaus, a'i *dansuddo* (Gr. *baptizontes,*) pan ydoedd yn nofio, fel pe buasent yn chwareu, ni pheidiasant nes yr oeddynt wedi ei lwyr fygu *(suffocate)* ef."

2. *Eto, Hyn. yr Iuddewon, Llyfr* 4, *Pennod* iv. 6:—"Trwy roddi, gan hyny, ychydig o'r lludw a hyssop mewn dwfr rhedegog, ac *wedi suddo* (Gr. *baptisantes,*) yr hyssop, hwy a daenellent ar y rhai a halogasid gan gorph marw."

3. *Heraclides Ponticus, Homeric Allegories, Pennod* ix., wrth ddesgrifio y gôf yn trochi yr haiarn tanllyd yn y dwfr, a ddywed:—"Oblegyd y mae y talp o haiarn, yr hwn a dynir yn wynias o'r tân gan y gofaint, *yn cael ei soddi* (Gr. *baptizetai,*) mewn dwfr, ac y mae yr hyn sydd danllyd ynddo ei hun, trwy gael ei oeri mewn dwfr, yn peidio a bod felly."

4. *Gregory Thaumaturgus, yn ei Folawd i Origen*, xiv., a ddywed:—"Safai efe ei hun ar ei uchelfa mewn diogelwch, a chan estyn ei law i ereill, efe a'u hachubai, fel pe buasai yn cyfodi i fyny bersonau *wedi suddo,*" (Gr. *baptizomenous.*)

5. *Engreifftiau o Plutarch:—*

(*a,*) *Cyfatebiaethau rhwng Hanes Groeg a Rhufain*, iii:—Wrth son am gadfridog Rhufeinig, yr hwn oedd wedi derbyn archoll marwol, dywed:—"Ond yn nyfnder y nos, gan iddo fyw ychydig yn mhellach, efe a gymmerodd ymaith darianau y gelynion, a chan *soddi* (Gr. *baptisas,*) ei law i'r gwaed, efe a osododd i fyny gofarwydd, gan ysgrifenu arno, 'Y Rhufeiniaid yn erbyn y Samnitiaid, i Jupiter, rhoddwr buddygoliaeth.'"

(*b,*) *Traethawd ar Ofergoeledd*, iii, a ddesgrifia y dyn ofergoelus yn

---

*Cyfieithiad* Symmachus,—Salm lxix. 2. "*Soddwyd* fi i ddyfnderoedd diwaelod." —Ebaptisthen *eis aperantous kataduseis.*

*Hen Gyfieithiad arall*, (eiddo Symmachus yn ol tyb rhai,)—Salm ix. 15. "Y Cenedloedd a *soddwyd* (ebaptisthesan) yn y ffos a wnaethant." Y gair Hebraeg yw *tabae*=suddo; a'r gair yn y LXX yw *empeynumi*=glynu mewn, sefydlu mewn.

Gwel "Y Beibl a'i Ddehongliad," Rhan I., Pen. ix.

cael y cynghor hwn:—"Galw yr hen ddewines, a *sudda* (Gr. *baptison*,) dy hun i'r môr, a threulia ddiwrnod i eistedd ar y ddaear."

(*c*,) *Eto*, *Bywyd Theseus*, 24:—"Gellir dy *drochi*, (Gr. *baptizê*,) O chwysigen! ond nid yw dy dynged i *foddi*," (Gr. *dunai*.) Felly Athen, at yr hon y cyfeirir. Gellid ei gorchuddio am ychydig gan dòn drygfyd, ond nid oedd ei thynged i gael ei boddi gan ddiluw aflwyddiant.

(*d*,) *Eto*, *Bywyd Alexander*, 67:—Wrth ddarlunio gloddest yn myddin Alexander, dywed:—"Yr oedd y milwyr, ar hyd y ffordd, gan *suddo* (Gr. *baptizontes*,) [eu dwylaw i'r gwin-gostrelau] gyda chwpanau, a chyrn, a phiolau, yn yfed y naill at y llall allan o win-gostrelau mawrion, ac o lestri ereill."

6. *Hippocrates*, *ar Heintiau*, *Llyfr* 5, wrth ddesgrifio gwaith y claf yn anadlu, a noda:—"Ac yr oedd hi yn anadlu, fel y mae dynion yn anadlu ar ol cael eu *tansuddo*, (Gr. *bebaptisthai*,) ac anfonai allan swn isel o'i mhynwes, fel y rhai a elwir llais-daflwyr."

7. *Æsop*, *Chwedl y Mul*:—"Un o'r mulod a gludent halen, gan ruthro i'r afon, a lithrodd yn ddamweiniol i lawr; a chan godi i fyny yn ysgafnach (trwy fod yr halen yn toddi), efe a ddeallodd yr achos, ac a gofiodd yr amgylchiad; fel bob amser (ar ol hyny) pan yn croesi yr afon, efe a wyrai i lawr yn bwrpasol, ac a *suddai* (Gr. *baptizein*,) y cawellau."

8. *Achilles Tatius*, *Hanes Clitophon a Leucippe*, *Llyfr* 4, *Pennod* xviii:—Wrth ddesgrifio y modd y mae cychwyr Aiphtaidd yn yfed dwfr o'r Nilus, dywed:—"Eu cwpan yfed yw eu llaw. Canys os bydd un o honynt yn sychedig wrth forio, gan ymgrymu i lawr o'r llestr, cyfeiria ei wyneb tua'r afon, a gollynga ei law i lawr i'r dwfr; a chan ei *suddo* (Gr. *baptisas*,) yn wag, a'i llenwi â dwfr, efe a gyfeiria y llymaid tua'i enau, ac a anela y nôd."

9. *Y LXX*, 2 *Bren*. v. 14:—"Ac yna efe a aeth i waered, ac a *ymdrochodd* (Gr. *ebaptisato*,) saith waith yn yr Iorddonen."

Ond i ba beth yr ychwanegwn engreifftiau, gan eu bod oll yn dwyn yr un dystiolaeth? Gall y darllenydd weled casgliad o dros ddau gant o engreifftiau wedi eu dethol o weithiau awduron Groegaidd, paganaidd, Iuddewig, a Christionogol, yn mha rai y defnyddir y gair mewn modd llythyrenol a ffugyrol, yn weithredol a goddefol, yn mhob ffurf a chystrawiad dichonadwy, yn nghyfrol ddysgedig Dr. Conant.*

---

*The Use and Meaning of BAPTIZEIN, Philologically and Historically Investigated. By T. J. Conant, D.D. London: Trubner & Co.

## Nodiadau ar yr Engreifftiau Blaenorol.

1. Mae yn amlwg mai ystyr hanfodol baptizo yw *trochi, suddo, tansuddo*, neu *achosi i fod yn suddedig.*

(*a*,) Gall y *tansuddiad fod yn rhanol*, megys yn yr engreifftiau blaenorol o dan I.; ond pan y mae yn rhanol, fe nodir hyny allan, megys ag yn yr holl engreifftiau uchod.

(*b*,) Gall y *tansuddiad fod yn gyflawn a pharhaol*, megys ag yn yr engreifftiau yn mha rai y sonir am suddiad llongau, o dan adran II. uchod. Neu gall fod yn *dansuddiad mynydol a byr-barhaol*, megys tansuddiad llaw, er codi llymaid o ddwfr; neu dansuddiad chwysigen yn y môr, pan y pwysid arni am eiliad i lawr; neu dansuddiad y cawelli yn yr afon, pan y croesai yr anifail y ffrwd. Tansuddid Aristobulus lawer gwaith, nes o'r diwedd y collodd ei anadl, ac y bu farw. Dywedir yn bendant fod Naaman wedi ymdrochi saith waith. Yr ystyr hanfodol yw trochi neu suddo; y cyssylltiad sydd i benderfynu pa un ai rhanol ai hollol, mynydol ai parhaol, ydyw i fod.

Mae tansuddiad dysgyblion Crist *i fod yn gyflawn*—yn gyd-gladdiad gyda Christ, gan nad oes yr un cyfyngiad yn cael ei nodi yn y commissiwn nac yn hanes gweinyddiad yr ordinhad yn y Testament Newydd; ac *yn fynydol neu o fyr barhad*—o anghenrheidrwydd, yn ol natur yr amgylchiad, gan fod eu bedydd i ddelweddu cladddedigaeth ac adgyfodiad Crist, a'u genedigaeth hwythau i deyrnas nefoedd, a'u hadgyfodiad i rodio mewn newydd-deb buchedd.

2. Mae *y geiriau cyfystyr a ddefnyddir yn gylchgyfnewidiol â baptizo, yn dangos mai ei ystyr yw tansuddo neu orchuddio.*

Yn yr engreifftiau II. 1. 9. ceir y ferf *katakluzo* yn gyfystyr â *baptizo.* Ystyr y ferf *katakluzo* yw *gorchuddio megys â diluw*, a defnyddir hi yn 2 Pedr iii. 6. am orchuddio y ddaear â dwfr y diluw.

3. *Fod ystyr ffugyrol y gair baptizo yn sylfaenedig ar ei ystyr lythyrenol*, ac yn *ymddibynu am ei rymusder a'i brydferthwch ar y meddylddrych o drochiad neu suddiad.*

Edrycher ar yr engreifftiau o dan II. 4. 5. (*b*,) 8. 9. lle y gwelir yn amlwg mai yn yr ystyr o *suddo i ofid a chyfyngder*, neu *orchuddio â dirmyg*, neu *drochi trwy orchuddio â chyflawnder*, y deallai y gwahanol ysgrifenwyr ef; megys pan y defnyddiai Himerius y gair wrth son am Themistocles, trwy ei fuddygoliaeth ar y Persiaid yn Salamis, yn soddi Asia, a Josephus pan yn darlunio y lladron yn soddi Jerusalem, ac Esaiah pan yn dweyd fod anwiredd yn ei suddo, a Theophylact pan yn desgrifio bedydd yr Ysbryd Glân fel yn gorchuddio yr enaid

â diluw o drugaredd. Cymharer Mat. xx. 22, 23, lle y cyffelyba yr Arglwydd Iesu ei ddyoddefiadau i suddiad mewn diluw o ddyfroedd dyfnion.

4. *Dengys yr engreifftiau uchod wendid ac annhegwch rhai awduron diweddar ar fedydd.*

Proffeswr Godwin,* er engraifft, yn ei "*Christian Baptism,*" a ddywed fel y canlyn:—"Golyga *baptizo* osod mewn dwfr, neu gadw o dan y dwfr am amser lled faith (*a considerable time*) unrhyw fodd, a byddai yn anmhriodol ei gymhwyso at drochiad o fyr barhad." (tudal 25.) "Pe buasai yn anghenrheidiol, gan hyny, i lynu wrth ystyr glasurol gyffredin y gair, ni fyddai eisieu *trochi* neb mewn bedydd; ond byddai pawb, mae'n debyg, yn cael eu boddi." (tudal. 34.) Yn gyffelyb y dywed Greville Ewing† yn ei waith ar fedydd; a Dr. Henderson.‡ Addefa Proff. Godwin fod tair o'r 50 o engreifftiau a ddygodd efe yn mlaen o'r gair baptizo, yn golygu trochiad neu dansuddiad o fyr barhad; ond cysura ei hun nad ydynt, wedi'r cwbl, ond tair! (*Christian Baptism,* pp. 33, 34.) Dylasai hyd y nod y tair engraifft siglo ei hyder yn anffaeledigrwydd ei feirniadaeth ei hun; ond y mae y tystion yn lliosocach o lawer nag yr awgryma efe; yr ydym ni wedi dwyn deuddeg yn mlaen uchod o dan III, a gallesid chwyddo y rhif yn llawer mwy, pe buasai anghen.

Peth arall, defnyddir y gair *baptizo* mewn cyssylltiadau pan na chyfeirir o gwbl at ddwfr, fel y dengys yr engreifftiau canlynol:—

*Achilles Tatius, Hanes Clitophon a Leucippe, Llyfr* 3, *Pennod* xxi. wrth ddesgrifio chwareuwyr yn chwareu â'r cleddyf, a ddywed:—"Ac y mae y rhai sydd yn edrych yn meddwl fod yr erfyn *yn cael ei soddi* (Gr. *baptizesthai,*) i lawr y corph; ond y mae efe yn rhedeg yn ol i geudwll y carn."

*Josephus, Hynafiaethau yr Iuddewon, Llyfr* 2, *Pennod* xviii. 4, wrth draethu hanes marwolaeth un Simon trwy ei ddwylaw ei hun, a ddywed:—"A chan estyn allan ei ddeheulaw, fel ag i fod yn weledig i bawb, efe a *soddodd* (Gr. *ebaptise,*) y cleddyf oll i'w wddf ei hun."

*Chrysostom, Darlithiau Detholedig,* 29, ar *Dynerwch,* wrth ddesgrifio tynerwch Dafydd tuag at Saul, a ddywed:—"Oni welaist ti rwydi Dafydd wedi eu lledaenu, a'r ysglyfaeth wedi ei ddal ynddynt, a'r heliwr yn sefyll, a phawb yn annog i *soddi* (Gr. *baptisai,*) y cleddyf i fynwes y gelyn."

---

* CHRISTIAN BAPTISM. By John H. Godwin, London. 1845.

† AN ESSAY ON BAPTISM. By Greville Ewing. Glasgow 1824. Tudal. 48.

‡ BAPTISM AND THE BIBLE SOCIETY. A Letter to the Rev. A. Brandram, M.A., on the meaning of the word BAPTIZO, &c. London, 1840. Tudal. 8.

Nid oes dodi mewn dwfr, na chadw o dan y dwfr, mewn engreifftiau fel hyn, gan na chymmerir dwfr o gwbl i ystyriaeth; ac nid oes rhith o sail i ddarnodiad hyf Proffeswr Godwin, Ewing, a Dr. Henderson, o ystyr baptizo. Nid rhyfedd i'r Presbyteriad selog o Belfast, sef y Proffeswr Wilson, nodweddu y fath ddamcaniaeth wyllt a'r un dan sylw, fel un "anamddiffynadwy a pheryglus," ("*untenable and dangerous*")! (Gwel INFANT BAPTISM a Scriptural Service, &c. By Rev. Robert Wilson, Professor of Sacred Literature for the General Assembly, Royal College, Belfast. London, 1848, p. 137.)

---

# PENNOD III.

## BAPTIZO YN YR EFENGYLAU.

*Baptizo yn cael ei ddefnyddio gyda'r Arddodiaid En ac Eis—Baptizo gyda'r gair dwfr yn y Cyflwr Rhoddiadol heb Arddodiad—Y lleoedd y bedyddiai Ioan ynddynt—Yr Isgadben Lynch ar ymdrochle y Pererinion yn El Meshra—Ainon—Eglurhad Gill, Meyer, a Grotius ar Marc* vii. 4. *a Luc* xi. 38.—*Cyfieithiadau diweddar Dr. Noyes, T. Sheldon Green, J. B. McClellan, a Dr. Delitzsch o'r geiriau—Dr. G. Campbell, Dr. Lightfoot, a Trollope ar y geiriau—Ystyr ffugyrol Baptizo yn sylfaenedig ar ei ystyr lythyrenol.*

Wedi dangos beth yw ystyr *baptizo*, a phrofi mai ei ystyr gyffredinol a gwastadol yw trochiad neu suddiad, y mae genym yn awr i ddangos mai yn yr ystyr yma y deallai yr efengylwyr ef. Cyssylltir yr arddodiaid *en* ac *eis* â *baptizo* yn yr efengylau. A ganlyn yw y lleoedd yn mha rai y defnyddir *en* mewn cyssylltiad âg ef:—

"A hwy a fedyddiwyd ganddo ef *yn* (*en*) yr Iorddonen," &c. (Mat. iii. 6. Marc i. 5.)

"Myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio chwi *mewn* (*en*) dwfr i edifeirwch; eithr yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i sydd gryfach na myfi, yr hwn nid ydwyf deilwng i ddwyn ei esgidiau: efe a'ch bedyddia chwi (*en*) yn yr Ysbryd Glân (*en Pneumati*) ac mewn tân." (Mat. iii. 11. Marc i. 8.)

"Ioan a atebodd iddynt, gan ddywedyd, Myfi sydd yn bedyddio *mewn dwfr*." (*en hudati*. Ioan i. 26.) "I hyny y daethum i, gan fedyddio *mewn dwfr*." (*en to hudati*. Ioan i. 31.)

"A myfi nid adwaenwn ef; eithr yr hwn a'm hanfonodd i fedyddio *mewn* dwfr (*en hudati*), efe a ddywedodd wrthyf, Ar yr hwn y gwelych yr Ysbryd yn disgyn ac yn aros arno, hwnw yw yr un sydd yn bedyddio *yn* yr Ysbryd Glân." (*en Pneumati*. Ioan i. 33.)

Yn awr, fe wel y darllenydd mai bedyddio *mewn dwfr*, *yn* yr Ysbryd, ac *mewn* tân, y dylasai y darlleniad fod yn yr adnodau uchod; felly y cyfieitha amryw daenellwyr dysgedig y geiriau, megys Dr. G. Campbell, Dr. Noyes, J. B. McClellan, &c.; a hyn yw y darlleniad a rydd Dr. Robinson, Efrog Newydd, o honynt yn ei Eiriadur. Cyfieitha efe y geiriau "*baptizein en pneumati hagio kai puri*—bedyddio yn yr Ysbryd Glân ac mewn tân; hyny yw, gorchuddio, cynnysgaethu yn helaeth â phob rhodd ysbrydol, a gorchuddio â thân anniffoddadwy." Mae y gair *baptizo* yn cael ei ddefnyddio yma i osod allan gyflawnder mawr; ac y mae y geiriau yn ymddibynu am eu grymusder ar y meddylddrych o drochiad neu dansuddiad.

Dadleuir fod yr arddodiad *en* yn golygu â neu *gyda;* ond dylid cofio mai ei ystyr gyffredinol yw *mewn* neu *yn,* ac ni ddylid newid yr ystyr yma, heb fod y synwyr yn gofyn hyny; a chan mai ystyr *baptizo,* fel y dangoswyd yn barod, yw *trochi* neu *suddo,* fe ddylai y geiriau *baptizo en hudati* gael eu darllen—*trochi mewn* neu *yn y dwfr.* Dodir ger bron y darllenydd ychydig engreifftiau, er egluro a phrofi hyn:—

Mat. ii. 1. Ganwyd "yr Iesu yn (*en*) Methlehem Iudea, yn (*en*) nyddiau Herod," &c.
Mat. ii. 2. "Gwelsom ei seren ef yn (*en*) y Dwyrain," &c.
Mat. iii. 1. "Yn (*en*) y dyddiau hyny y daeth Ioan Fedyddiwr, gan bregethu yn (*en*) niffaethwch Iudea," &c.
Mat. iii. 3. "Llef un yn llefain yn (*en*) y diffaethwch," &c.
Mat. iii. 12. "Yr hwn y mae ei wyntyll yn (*en*) ei law," &c.
Mat. iii. 17. "Hwn yw fy anwyl Fab, yn (*en*) yr hwn y'm boddlonwyd."
Mat. iv. 21. "Efe a welodd ddau frodyr ereill......mewn (*en*) llong," &c.
Mat. iv. 23. "Gan ddysgu yn (*en*) eu synagogau," &c.
Mat. v. 12. "Mawr yw eich gwobr yn (*en*) y nefoedd," &c.
Mat. v. 15. "A hi a oleua i bawb sydd yn (*en*) y tŷ," &c.
Mat. xiv. 3. "Canys Herod....a'i dodasai yn (*en*) ngharchar," &c.
Mat. xxvii. 60. "Ac a'i gosododd ef yn (*en*) ei fedd newydd ei hun," &c.
Marc vi. 29. "Ac a'i dodasant mewn (*en*) bedd."
Mat. xxvi. 23. "Yr hwn a wlych ei law gyda mi yn (*en*) y ddysgl," &c.
2 Bren. v. 14. "Ac yna efe a aeth i waered, ac a ymdrochodd saith waith yn (*en*) yr Iorddonen," (*kai ebaptisato en to Iordanê,*) &c.

Gan mai *trochi* yw ystyr gyffredinol *baptizo,* a chan mai *yn* neu *mewn* yw ystyr naturiol ac arferol *en,* gallwn fod yn benderfynol mai ystyr y geiriau *ebaptizonto en to Iordanê* yw, "hwy a drochwyd yn yr Iorddonen."

Yn Marc i. 9. cyssylltir yr arddodiaid *eis, i'r,* â *baptizo:*—"A bu yn y dyddiau hyny, ddyfod o'r Iesu o Nazareth yn Galilea, ac efe a fedyddiwyd gan Ioan i'r Iorddonen," (*ebaptisthê hupo Iôannou* EIS *ton Iordanên*). Sylw Dr. Bloomfield ar yr adnod hon yw,—"*Literally, was dipped or plunged into,*"—a drochwyd neu a suddwyd i'r Iorddonen. "*Bedyddiwyd i'r Iorddonen*" yw y cyfieithiad a rydd y Dr. Robinson hefyd o'r geiriau hyn yn ei Eiriadur.

Defnyddir y gair *baptizo* a'r gair dwfr (*hudati*) mewn cyssylltiad âg ef yn yr hyn a elwir yn y Grammadegau y "cyflwr* rhoddiadol,"

* Mae'n bossibl fod y fath ymadrodd a "chyflwr rhoddiadol," (*dative case,*) yn annealladwy i'r darllenydd. Ymadrodd grammadegol ydyw, a dichon y bydd

(*the dative case,*) heb yr arddodiad *en*, ac oblegyd hyny dywed rhai fod y dwfr, y *moddion,* i'w olygu fel yr *offeryn* neu yr *elfen* a ddefnyddir, ac mai y darlleniad cywir yw *bedyddio â dwfr*. Dyma yr ystyr a rydd Dr. Robinson i'r engreifftiau hyn, er ei fod ef ei hun yn cyfieithu y gair *puri*, (yr hwn sydd yn Mat. iii. 11. yn hollol yn yr un cyflwr [*case*] ac heb arddodiad,) "*mewn* tân."

Dygwydda yr ymadrodd *baptizo hudati*, ag y dywedir y dylid ei gyfieithu *bedyddio â dwfr*, yn Luc iii. 16. Act. i. 5. xi. 16. Dadleua yr Anrhydeddus B. W. Noel mai *bedyddio mewn dwfr* yw y cyfieithiad cywir, o herwydd y rhesymau canlynol:—

"1. Mae y darn cyntaf yn yr adnodau hyn, *baptizein hudati*, yn gyferbyniol i'r ail, *baptizesthai en pneumati;* a chan y golyga yr ail ran 'bedyddio yn yr Ysbryd,' dylai y gyntaf olygu 'bedyddio mewn dwfr' i wneyd y gyferbyniaeth yn gyflawn.

2. Yn Luc iii. 16. ceir tystiolaeth yr efengylwr am y geiriau a

---

i'r engraifft ganlynol, yn nghyda'r sylw dilynol, roddi rhyw feddylddrych i'r darllenydd Cymreig am yr hyn a ddeallir wrth y *cases.*

Case. (Cwympod, neu Gyflwr.)

| | | | |
|---|---|---|---|
| Nominative | (Enwedigaethol) | *Anthrop·os* | dyn |
| Genitive | (Meddiannol) | *Anthrop·ou* | dyn (*of man.*) |
| Dative | (Rhoddiadol) | *Anthrop·ô* | i ddyn |
| Accusative | (Cyhuddol) | *Anthrop·on* | dyn (=*objective case.*) |
| Vocative | (Galwadol) | *Anthrop·e* | O ddyn. |

Gwelir oddiwrth yr engraifft uchod fod terfyniad y gair yn newid yn ei wahanol dreigliadau neu sefyllfaoedd. Gelwir y canol o'r pump uchod y *cyflwr rhoddiadol* neu y *cwympod rhoddiadol* (dative case), fe ddichon, am fod y ferf Roegaidd *rhoddi* yn gofyn y terfyniad uchod ar ei hol yn y person i'r hwn y rhoddid rhywbeth. Mae yr arddodiad *en* yn gofyn yr un terfyniad mewn gair ar ei ol a'r ferf *rhoddi*, am hyny dywedir fod gair yn y *cwympod rhoddiadol* (dative case) ar ol *en*, yn gystal ag ar ol *rhoddi*, er na fydd y meddylddrych o roddi yn y frawddeg. Rhaid cael enw ar bob gwrthddrych i'w wahaniaethu oddiwrth wrthddrych arall; felly dynodir gair pan mewn gwahanol dreigliadau, wrth enwau neillduol. Dywedir am air yn un o'r terfyniadau uchod, ei fod yn y *cyflwr cyhuddol*, (accusative case,) am, mae'n debyg, fod y ferf *cyhuddo* yn gofyn y terfyniad uchod ar ei hol; ond nid ydyw fod y gair dyn yn yr hyn a elwir *cyflwr cyhuddol* yn golygu ei fod yn *gyhuddedig*, oblegyd mae y ferf *caru* yn gofyn yr un terfyniad neu *case* ar ei hol. Byddai yr un mor briodol ei alw y *cyflwr cariadol* a'r *cyflwr cyhuddol;* ond dyma'r enwau a ddefnyddir gan Rammadegwyr er mwyn dealltwriaeth gyffredinol ac unffurfiaeth.

Pan y dywedir, ynte, fod y gair *hudati* (dwfr) yn y *dative case*, ni olygir mwy na'i fod yn y treigliad hwnw, o herwydd fod yr arddodiad *en* (mewn) yn *ddealladwy* neu wedi ei *ysgrifenu* o'i flaen. Defnyddir gair yn fynych yn y cyflwr rhoddiadol heb arddodiad er gosod allan yr *elfen yn mha un*, neu y *cylch yn yr hwn*, y cymmer gweithred le, yn ogystal ag er gosod allan y *moddion neu yr offeryn â pha un* y cyflawnir unrhyw weithred.

lefarodd Ioan Fedyddiwr; ond fe ddywedodd Ioan, 'Yr wyf fi yn bedyddio mewn dwfr,' *baptizo en hudati*, yn ol yr efengylwyr Matthew a Marc; a rhaid fod Luc, gan hyny, fel hwythau yn golygu ei fod wedi dweyd, 'Yr wyf yn bedyddio mewn dwfr,' nid 'Yr wyf yn bedyddio â dwfr.'

3. Y mae Luc mewn lleoedd ereill yn defnyddio y cyflwr rhoddiadol (*the dative case*) heb arddodiad i ateb y gofyniad "yn mha le?" pan mae y cyflwr rhoddiadol yn gosod allan *mewn* neu *yn*, ac nid *gyda*. Fel hyn,—(1,) Luc xvii. 34. '*Yn* y nos hòno.' (2,) Act. i. 14. 'Yn parhau yn gytun *mewn* gweddi.' (3,) Act. ix. 31. 'Gan rodio *yn* ofn yr Arglwydd.' (4,) Act. ii. 6. 'Yn llefaru *yn* ei iaith ei hun.' (Act. ii. 8.) (5,) Act. xiv. 16. 'Fyned *yn* eu ffyrdd eu hunain.' Mae llawer o debygolrwydd yn nefnyddiad y cyflwr rhoddiadol yn yr holl leoedd hyn, ac y mae yr olaf yn ymddangos i mi yn cyfateb yn hollol i'r un o dan sylw. Yn y geirweddiad, *poreuesthai hodô*, a *baptizein hudati*, y mae y cyflwr rhoddiadol yn ateb yr ymholiad 'yn mha le?' ac fel y mae *hodô* yn gosod allan 'yn y ffordd,' felly y mae *hudati* yn gosod allan 'mewn dwfr;' ac y mae y cyflwr yma yn gosod allan y lle ac nid yr offeryn." (*Essay on the External Act of Baptism*, pp. 19, 20.)

Gwna Winer y sylw canlynol ar y gwahaniaeth rhwng y ddau ymadrodd:—

"Weithiau yr ydym yn canfod arddodiad yn cael ei defnyddio mewn un o ddwy frawddeg gyfatebol, ac yn cael ei gadael allan yn y llall: er engraifft, Luc iii. 16. Act. i. 5. xi. 16. *baptizein hudati*, ond *baptizein en hudati*, Mat. iii. 11. Ioan i. 26. 33. Nid yw y gwahaniaeth hwn yn effeithio ar yr ystyr, er fod y ddwy frawddeg ar y cyntaf yn cael eu hamgyffred mewn modd gwahanol: * * * *baptizein en hudati—bedyddio* (trwy suddo) *mewn dwfr; baptizein hudati—bedyddio â dwfr*. Yma, ac yn y rhan fwyaf o leoedd ereill, mae yn amlwg fod y brawddegau yr un peth o ran ystyr, ond ni ddylid tybied fod y naill yn cael ei defnyddio yn lle y llall." (*Grammar of N. T. Greek*, § 50. 3. *Moulton's Translation*, 1870.)

Tra y defnyddir *baptizo* gyda'r arddodiad ac heb yr arddodiad *en* o flaen y gair dwfr (*hudati*), ni ddefnyddir ef o gwbl o flaen y geiriad "*Ysbryd Glân*," heb fod yr arddodiad hon mewn cystraweniad gydag ef.

Yn ol barn Winer, Dr. Hackett, a rhai beirniaid ereill, ystyr *baptizo hudati* yw *bedyddio â dwfr*, neu *bedyddio trwy ddefnyddio dwfr fel yr elfen yn yr hon y soddir dynion*, er gwahaniaethu bedydd mewn dwfr oddiwrth fedydd yn yr Ysbryd Glân. Gan nas gellid yn briodol ystyried yr Ysbryd Glân fel math o foddion neu offeryn er cyflawni gweithred, defnyddir yr arddodiad *en* (*mewn* neu *yn*) gyda *baptizo* yn ddieithriad o flaen y geirweddiad "Ysbryd Glân," a

dyma, yn ol Dr. Conant, yw yr unig esboniad ar y ddau gystrawiad yn yr un cyssylltiadau. Ond y mae yn eglur oddiwrth yr engreifftiau a ddwg Baptist W. Noel yn mlaen, a'r dyfyniadau lliosog yn ngwaith Dr. Conant, fod y cyflwr rhoddiadol (*dative case*) yn cael ei ddefnyddio yn fynych mewn ystyr leol (*local*), er dangos *yr elfen yn yr hon* y cymmerai y suddiad le, yn ogystal ag yn yr ystyr offerynol (*instrumental*). Fe welir hefyd na fyddai cydnabod cywirdeb y cyfieithiad *bedyddio â dwfr*, mewn un modd yn milwrio yn erbyn yr ystyr o *drochiad* neu *suddiad* a briodolir i *baptizo*, gan mai â dwfr yn yr ystyr o *trwy gyfrwng dwfr fel elfen* yn yr hon y trochid y dysgyblion, a olygir; a byddai yn groes i bob rheol mewn beirniadaeth ysgrythyrol i ddeall brawddegau cyfatebol yn yr un hanes yn dysgu dau ddull bedydd, a dwy ffordd i gyflawni gorchymyn pendant! (Gwel *Dr. Hackett's Commentary on the Original Text of the Acts of the Apostles, chap.* i. 5; *Dr. Conant's Baptizein, sect.* iv. 6. [3.] )

Ond nid yw ein cyfeillion yn barod i'n gollwng yn rhydd mor esmwyth â hyn; myn rhai o honynt mai ystyr hyd y nod *baptizo en* yw *bedyddio â*, gan gyfeirio at y moddion offerynol trwy yr hwn y cyflawnid y weithred. Gan fod yr arddodiad *en*, ebe Dr. Halley, yn golygu yn fynych yn y Testament Newydd yr offeryn â'r hwn y gwneir unrhyw beth, yn yr ystyr hyny hefyd, eb efe, y dylid ei ddeall gyda *baptizo*. Mae'n debyg fod yr arddodiad *en* weithiau yn y Testament Newydd, yn debyg i'r arddodiad Hebreig *be* (בּ), am yr hon y saif *en* yn y LXX, yn golygu mewn modd anmhennodol *gyda* neu *trwy;* megys "taraw â (*en*) chleddyf" (Luc xxii. 49.); "efe a wnaeth gadernid â (*en*) 'i fraich" (Luc i. 51.); "lladd â (*en*) chleddyf" (Dad. vi. 8.); "sathru dan (*en*) eu traed" (Mat. vii. 6.); "âg (ἐν) ef yr ydym yn bendithio Duw" (Iago iii. 8.); "trwy (*en*) y gŵr a ordeiniodd efe." (Act. xvii. 31.) Ond y mae'n deilwng o sylw, mai *bod o fewn*, neu *yn amgylchynedig â*, yw ystyr lythyrenol a hanfodol *en*, hyd y nod yn y mwyafrif o'r engreifftiau lle y cyfieithir ef yn *â* neu *gyda* yn y Testament Newydd. Geilw grammadegwyr y fath yma o *en*, yn "*en* o amwisgiad" ("The *en* of investiture"),*

---

* "The ἐν of investiture," *in* or *with;* as when we say, "The general came *in* his sword, the peers *in* their robes."—*Dr. S. G. Green's Hand-book to the Grammar of the Greek Testament*, § 295, 3.

"Instrumental adjunct, or adjunct of manner, the ἐν of investiture."—*Webster's Syntax and Synonyms of the Greek Testament*, p. 159. *Ed.* 1864.

'Εν, 3. d. (β), with dative of thing, but used strictly of such means as imply that the object affected is actually *in*, among, surrounded by them, pp. *in and through*, Mat. viii. 32, died *in and by* the waters, 1 Cor. iii. 13. Hence generally where the object is conceived as being *in*, or in contact or connection with the means, &c. Mat. iii. 11, *baptizo en hudati*, &c., &c.—*Dr, Robinson's Greek Lexicon.*

yr hon a olyga fod y person a nodir yn wisgedig neu yn arfogedig â'r gwrthddrych sydd yn dilyn *en.*

1 Cor. iv. 21. "Ai dyfod o honof fi atoch â (*en*) gwialen," hyny yw, wedi ei amgylchu â phrofion o awdurdod a gallu er eu ceryddu.
Eph. vi. 2. "Hwn yw y gorchymyn cyntaf mewn (*en*) addewid," hyny yw, sydd yn dyfod atom wedi ei amgylchu âg addewid.
1 Thes. iv. 18. "Am hyny dyddenwch eich gilydd â (*en*) 'r ymadroddion hyn," hyny yw, gan gael cylch eich bodolaeth a ffynnonell eich cysur yn yr ymadroddion Dwyfol hyn.
2 Thes. ii. 16. "Ac a roddes i ni ddyddanwch tragywyddol, a gobaith da trwy (*en*) ras," hyny yw, yn gweithio allan a dylanwadu yn yr elfen gydfynedol o ras a chariad.
1 Tim. i. 18. "Filwrio o honot ynddynt (*en*) filwriaeth dda," hyny yw, wedi dy wisgo â'r prophwydoliaethau megys âg arfogaeth.
Heb. ix. 25. "Mae yr archoffeiriad yn myned i mewn i'r cyssegr bob blwyddyn â (*en*) gwaed arall," hyny yw, wedi ei amgylchu â haeddiant gwaed.
1 Pedr iv. 19. "Gorchymynant eu heneidiau iddo ef, megys i Greawdwr ffyddlawn, gan (*en*) wneuthur yn dda," hyny yw, mewn gwneuthur daioni, megys wedi eu gwisgo â rhinweddau, ac yn bodoli yn ngweithgarwch y bywyd crefyddol.
Dad. xiii. 10. "Lladd â (*en*) chleddyf," hyny yw, wedi ei wisgo âg arfogaeth cleddyf.

Gwel Ellicott, Alford, a Meyer, ar ystyr *en* yn yr adnodau hyn.*

Felly, er fod *en* yn cael ei ddefnyddio weithiau yn y Testament Newydd, trwy ddylanwad y LXX mae'n debyg, mewn modd anmhennodol i ddynodi *trwy* neu *gyda,* eto ei brif ystyr,—ei ystyr gyntefig a hanfodol yw *yn* neu *mewn;* a chan mai ystyr lythyrenol ac arferol baptizo yw *trochi* neu *suddo;* a chan, yn mhellach, mai *dwfr* yw yr elfen yn yr hon y mae bedydd i gael ei weinyddu, mae yn anmhossibl rhoddi unrhyw ystyr i'r ymadrodd "*baptizo en hudadi*" heblaw *soddi mewn dwfr.*

Y mae hanes y *lleoedd* y bedyddiai Ioan ynddynt yn gysson â'r meddylddrych o drochiad. Bedyddiai "yn *afon* yr Iorddonen." (Marc i. 5.) Bedyddiai hefyd "yn Ainon, yn agos i Salim; *canys dyfroedd lawer oedd yno;* a hwy a ddaethant, ac a'u bedyddiwyd." (Ioan iii. 23.)

Tybir fod tarddle yr Iorddonen mewn ffynnon fawr yn agos i

---

* ἐν is, agreeably to the conception of βαπτίζω (*immersion*), not to be taken as *instrumental,* but as *in,* in the meaning of the *element,* in which immersion takes place."—*Meyer on Mat.* iii. 11.

ἐν, not instrumental, but elemental: he enters, furnished with, as it were clad with, that which follows. We use our "in" of even lesser articles of personal wear in a similar sense: "a man in spectacles."—*Alford on Heb.* ix. 24.

Hasbeiya, yn y dyffryn i'r Gorllewin o fynydd Hermon. Wrth ei dilyn oddi yno, drwy ei hamrywiol ddolenau, i'r Môr Marw, yr ydym yn ei chael tua 150 o filltiroedd o hyd. Mae ei lled yn gyffredin o 80 i 100 troedfedd, a'i dyfnder yn amrywio yn fawr mewn gwahanol fanau. Mewn gwledydd gwastad, llifa yr afonydd yn araf, ac y mae eu dyfnder yn gyffredin yn gyffelyb yn ystod eu gyrfa tua'r môr; ond y maent yn dra gwahanol mewn gwledydd mynyddig. Ar ol rhew ac eira mawr a gwlawogydd trymion, dylifa y dyfroedd o'r bryniau a'r mynyddoedd, gan wneyd rhyferthwy anorchfygol yn y dyffrynoedd, a pheri i'r afonydd gludo ymaith ddarnau mawrion o'r ddaear, a hollti y creigiau yn eu gyrfa fuddygoliaethus tua'r cefnfor. Ond yn y llifogydd mwyaf, y mae rhai lleoedd bâs i'w cael yn y cyfryw afonydd; ac ar y sychder mwyaf ceir mewn gwahanol fanau yn eu gwelyau, amryw leoedd yn cynnwys cyflawnder o ddwfr glân a pheraidd, ac yn hollol addas a chyfleus i weinyddu bedydd trwy drochiad ynddynt. Un felly, er engraifft, yw y Ddyfrdwy yn Nghymru; ac un gyffelyb yw yr Iorddonen. Weithiau sonir am "rydiau'r Iorddonen," lle y croesid hi. (Ios. ii. 7. Barn. iii. 28.) Pryd arall sonir am ei chroesi mewn "ysgraff," neu gwch. (2 Sam. xix. 18.) Yn Ebrill a Mai mae yr afon yn fawr, ac weithiau yn gorlifo dros ei cheulanau. (Ios. iii. 15. 1 Chron. xii. 15. Ier. xii. 5. xlix. 19. l. 44, &c.) Felly, ar wahanol *adegau*, ac mewn gwahanol *leoedd* arni, gellir dweyd ei bod mor ddwfn fel y rhaid cael *cwch* i fyned trosti, ac mor fâs fel y gellid (yn yr hen amseroedd,) ei *rhydio;*—ei bod ar rai adegau yn llifo dros ei thorlanau, fel ag i yru llewod i ffoi o'r llwyni gerllaw iddi (Ier. l. 44.); ac ar adegau ereill mor isel, fel ag i ganiatâu i gannoedd yn flynyddol o bererinion o bob oedran ymdrochi ac ymddigrifo yn ei dyfroedd.

Dywedir wrthym mai yn yr afon* hon y bedyddiai Ioan. (Mat. iii.

---

* Rhydd Lieutenant Lynch, o'r Unol Daleithiau, yr hwn yn 1848, mewn cychod metelaidd, a fu yn chwilio yr Iorddonen a'r Môr Marw, y dystioiaeth ganlynol am ei lled a'i dyfnder:—

| Dydd. | Lled. | Dyfnder. |
|---|---|---|
| 1 | 25 i 30 llath | 0 troedfedd |
| 2 | 40 " | $2\frac{1}{2}$ i 6 " |
| 3 | 40 " | 0 " |
| 4 | 45 " | 4 " |
| 5 | 30 i 70 " | 2 i 10 " |
| 6 | 56 " | 4 " |
| 8 | 40 " | 7 " |
| 9 | 40 " | 12 " |
| " | 50 " | 11 " |
| " | 180 " | 3 " |

6. Marc i. 5. Luc iii. 3.) Enw un lle arni, lle y bedyddiai, oedd Bethabara (Ioan i. 28.); a lle ar làn yr afon hon, mae'n debyg, oedd Ainon. (Ioan iii. 23.)

Ystyr y gair Bethabara yw *Tŷ'r fynedfa*, enw wedi cael ei roddi i'r lle, mae'n debyg, naill ai am mai yno y croesodd yr Israeliaid gydag arch y cyfammod, neu am yr arferid myned dros yr Iorddonen yn y fan hòno, a bod yno dai wrth yr afon yn ymyl y fynedfa drosodd, er lletya a chyfarwyddo teithwyr, a'u trosglwyddo drosodd mewn cychod pan fyddai yr afon wedi codi. Yr oedd yma le manteisiol i Ioan bregethu a bedyddio; yr oedd yma lawer o bobl yn croesi'r Iorddonen yn ol ac yn mlaen; yr oedd yma dai er cael lluniaeth ac ymgeledd iddynt; ac yr oedd lle dymunol yn yr afon ger llaw y rhydiau i fedyddio yr edifeiriol.

Cyfeirir gan draddodiad hen a diweddar at lecyn ar yr Iorddonen, yn yr hwn y bedyddiai Ioan. Yr oedd y lle yn adnabyddus yn yr ail ganrif. Dywed Eusebius a Jerome, yn nechreu y bedwaredd ganrif, fod y lle yn cael ei ddangos yn eu dyddiau hwy, a bod pererinion yn cyrchu yno i gael eu bedyddio. Cawn y desgrifiad canlynol o'r lle gan Lieutenant Lynch :—

"Am 9. 30. p.m. (Ebrill 17eg, 1848,) cyrhaeddasom 'El Meshra,' ymdrochle y pererinion Cristionogol, ar ol bod yn y cychod am bymtheg awr. Cyssegrir y rhydle yma gan draddodiad fel y man lle y croesodd yr Israeliaid gydag arch y cyfammod, a'r lle y bedyddiwyd ein Hiachawdwr bendigedig gan Ioan. Fy ngweithred gyntaf oedd ymdrochi yn yr afon gyssegredig; gan ddiolch i Dduw yn gyntaf, am y ffafr werthfawr o gael gweled y fath le, ac yn ail am ei ofal amddiffynol yn ystod ein taith beryglus. Am amser hir wed'yn, mi a eisteddais ar y làn, a'm meddwl yn llwythog gan barchedig ofn, fel y myfyriwn ar y pethau mawrion a rhyfedd a gymmerasent le yno. Gwna traddodiad, yr hwn a gynnelir gan agweddau daearyddol y wlad, y fan hon y lle yn yr hwn y bedyddiwyd y Gwaredwr. Ar y dydd rhyfedd hwnw, darfu i'r Duwdod mewn gorchudd o gnawd fyned i lawr y dorlan, a holl natur, wedi dystewi gan barchedig ofn, yn edrych; a rhaid fod yr afon ffrochwyllt, mewn ymostyngiad diolchgar, yn arafu ei gyrfa, gan lifo yn esmwyth dros gorph ei Harglwydd. Gyferbyn â'r fan hon, mae'n ddiau, y safai Bethabara y Testament Newydd. Ystyr Bethabara yw 'lle y fynedfa drosodd.' Aeth ein Harglwydd i Bethabara, lle yr oedd Ioan yn bedyddio; a chan fod y rhydle, mae'n debyg, wedi derbyn ei enw oddiwrth fynedfa yr Israeliaid drosodd gydag arch y cyfammod, nid ydyw y casgliad yn afresymol fod y llecyn hwn wedi ei ddwbl-gyssegru."

Wrth son am fintai y pererinion, y rhai a ddaethent ar ddydd yr ymdrochi blynyddol, y boreu yr oedd y cymdeithion Americanaidd yno, dywed Lieutenant Lynch :—" Disgynodd y pererinion i'r afon lle mae y dorlan yn gostwng yn raddol. Uwchlaw ac islaw mae yn serth..........Darfu i bob un dansuddo ei hun, neu gael ei drochi

gan arall, dair gwaith o dan wyneb y dwfr, er anrhydedd y Drindod." (*Narrative of the United States Expedition to the River Jordan and the Dead Sea, by W. F. Lynch, U.S.N.*, pp. 255—263. *London*, 1849.)

Yn wythnos y Pasc, yn nghanol Ebrill, bydd o dair i bum' mil yn myned o Jerusalem i'r Iorddonen i ymdrochi. Aelodau ydynt, gan mwyaf, o wahanol ganghenau yr eglwys Ddwyreiniol, Groegiaid, Armeniaid, Syriaid, Coptiaid, gydag ambell un o'r Pabyddion. Maent wedi cadw at fedydd trwy *drochiad* er dyddiau yr apostolion, ac ystyriant gael eu trochi unwaith yn y lle y bedyddiwyd Crist braidd yn anhebgorol i iachawdwriaeth.

Mae'n ddiammheuol fod Ioan wedi dewis man ar yr afon i bregethu a bedyddio lle y croesid hi gan y brif ffordd o Jerusalem a Jericho i'r dinasoedd dros yr Iorddonen, fel y lle mwyaf manteisiol i gasglu gwrandawyr, ac ar yr un pryd yn rhoddi pob cyfleusdra i drochi y dysgyblion. Lle felly oedd Bethabara, ac i'r lle yna yr â pererinion Cristionogol trwy'r canrifau, i adgofio am fedydd y Cyfryngwr trwy ymdrochi yn y ffrwd gyssegredig. Os oes lle cyfleus a dymunol ynddi yn awr i'r miloedd pererinion ymdrochi, rhaid ei bod felly i fab Zecharias drochi Iuddewon edifeiriol ynddi, a'r Person mawreddog hwnw, yr hwn a roddodd "esiampl i ni fel y dilynem ei ol ef."

Y lle arall y bedyddiai Ioan ynddo oedd Ainon. Nis gellir bod yn sicr yn awr pa le a olygir wrth Ainon. Yn amser Eusebius a Jerome yr oedd y lle yn hollol adnabyddus. Dywed Eusebius ei fod tuag wyth milltir i'r Deheu o Scythopolis neu Bethshean, a 53 i'r Gogledd-ddwyrain o Jerusalem. Os felly, yr oedd ar, neu yn agos i'r brif ffordd o Galilea a Samaria dros yr Iorddonen i'r dinasoedd yr ochr arall i'r afon. Tybia y Parch. G. W. Samson, D.D., o'r Unol Daleithiau Americanaidd, yr hwn a fu ei hun yn Nghanaan, mai lle *ar yr Iorddonen* oedd Ainon, am y rheswm fod y Testament Newydd yn dweyd mai *yn yr Iorddonen* yr oedd Ioan yn bedyddio,—gan ystyried fod y dywediad cyffredinol "yn yr Iorddonen," yn cynnwys y manylion lleol, megys Bethabara ac Ainon. R. Robinson, awdwr "Hanesiaeth Bedydd," gan ymresymu oddiwrth ystyr y gair Ainon (*llygad*, neu *ffynnon*,) a ogwydda i feddwl mai ffynnon mewn ogof ydoedd, yn agos i Salim. Yr oedd ogofäu mawrion yn Mhalestina, a dwfr ynddynt a cher llaw iddynt. Pan oedd newyn yn Israel o herwydd y sychder mawr yn amser Elias, yr oedd Obadiah yn gallu cuddio cant o wŷr mewn ogof, a'u porthi â bara ac â dwfr. (1 Bren. xviii.) Yr oedd ogof Adulam yn ddigon ëang i Dafydd guddio pedwar cant o wŷr ynddi, (1 Sam. xxii.) ac y mae ogofäu mawrion felly i'w canfod yn anialwch Judea, tua gororau y Môr Marw, y dydd heddyw. (*Kitto's Biblical Cyclopædia*, o dan y gair *Adullam*.)

Gallasai Ioan fod mewn lle cyffelyb yn pregethu, lle y cawsai gysgod rhag y gwres, a lloches rhag y gwynt a'r gwlaw, a heddwch oddiwrth dwrf ac aflonyddwch, lle yr oedd cyflawnder o ddyfroedd grisialaidd mewn bedyddfa ysblenydd, wedi ei pharotoi gan Awdwr natur ei hun.

Ymddengys mai Judea oedd maes llafur Ioan Fedyddiwr, ac felly ein bod i edrych am Ainon a Salim yn Judea. Dichon eu bod yr un lleoedd ag Ain a Silhim, (Jos. xv. 32.) y rhai oeddynt yn perthyn i Judea. Tybia T. Barclay, M.D., Cenadwr perthynol i'r Campbelliaid Americanaidd yn Jerusalem, ei fod ef wedi darganfod Ainon, mewn ffurf o "lawer o ffynnonau," neu "lawer o ddyfroedd," yn Wady Farah (Dyffryn Hyfrydwch), tua chwe' milltir i'r Gogledd-ddwyrain o Jerusalem. Math o ffynnon yn tarddu allan o'r ddaear ydoedd, ac yn ffurfio ffrwd a allasai droi llawer o felinau......Ymranai i hanner dwsin o ganghenau, o'r dwfr puraf a dysgleiriaf, yn gwahaniaethu mewn dyfnder o ychydig fodfeddi i chwe' throedfedd, yn cael ei hamgylchu o'r ddwy ochr gan y ffigysbren gysgodol, ac yn ffurfio math o lynoedd bychain, neu gronfaoedd dwfr wedi eu gwisgo yn y graig. Disgyna y dyfroedd hyn, ar ol llifo ac ymdreiglo am rhyw ddeg milltir tua'r Dwyrain, i afon yr Iorddonen o dan yr enw Celt, a thybia Dr. Ed. Robinson mai y ffrwd hon oedd "afon Cerith," wrth yr hon yr ymguddiai y prophwyd Elias. (1 Bren. xvii. 3. 7. *Dr. Barclay's City of the Great King*, pp. 558—565. *Philadelphia*, 1858.)

Pa un bynag ai yn yr Iorddonen, mewn llecyn a elwid Ainon, ai ynte mewn ffynnon, y bedyddiai Ioan, yr oedd yn dewis y lle hwn am fod yno *lawer o ddyfroedd*, a'i fod yn le manteisiol iddo i fedyddio y bobl.

Dywed Marc fod Ioan yn bedyddio yn y *diffaethwch*, (Marc i. 3.) sef yn yr Iorddonen mewn parth o'r wlad a elwid yn ddiffaethwch. Nid oedd y gair diffaethwch yn arwyddo yn Judea, gwlad heb bobl, ond gwlad goediog, tir porfa, i'w gwahaniaethu oddiwrth y tir a lafurid. Yr oedd yn yr anialwch hwn, yn amser Josua, chwech o ddinasoedd a'u pentrefi, (Jos. xv. 61, 62.) ac yr oedd y trigolion yn drinwyr anifeiliaid. Sonir am "borfeydd yr anialwch," (Salm lxv. 12. Joel i. 19.) yr hyn a gyflea y meddylddrych fod ynddo borfeydd breision, a'i fod yn drigfa dynion ac anifeiliaid.

Pan bregethai Ioan yn nyffryn yr Iorddonen, ymgasglai llu dirfawr i'w wrando; yr oedd ei boblogrwydd y fath, fel yr elai tyrfa fawr o Jerusalem, (pellder tua 25 o filltiroedd,) i'w fedydd; a bedyddiwyd llawer o honynt "ganddo ef yn yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau."

Ond y mae *baptizo* yn cael ei gyfieithu *ymolchi* yn Marc vii. 4. ac

yn Luc xi. 38., ac oblegyd hyny dywedir ei fod yn golygu *golchi*, ac nid *trochi*. Ond rhaid i'r darllenydd gofio mai y *canlyniad* o drochiad yw golchiad, a bod y naill i ragflaenu y llall. Dywed rhai dysgedigion fod *baptizo* yn y lleoedd hyn yn gosod allan *drochiad yr holl gorph*, tra y dywed ereill mai *trochiad y dwylaw* a olygir; ond gesyd y ddau ddosbarth allan fod *baptizo* yn golygu *trochi*. Yn Marc vii. 3. ceir *nipto* am "olchi y dwylaw," yr hwn sydd air gwahanol i'r gair *(baptizo)* a ddefnyddir am "ymolchi" ar ol bod yn y farchnad. Dywedir yn y drydedd adnod na wnelai y Phariseaid fwyta oddi eithr iddynt *olchi* eu dwylaw, a phan y deuent o'r farchnad na fwytaent oddi eithr iddynt *ymfedyddio* neu *ymdrochi;* mae yn amlwg, ynte, fod y bedydd yn wahanol i olchiad y dwylaw. Yr oedd golchi dwylaw yn anghenrheidiol yn eu golwg yn wastadol, ond nid oedd *ymdrochi* yn anghenrheidiol, oddi eithr pan y byddent wedi bod yn mysg y lliaws. A ganlyn yw eglurhad Dr. Gill ar y lle:—

"Byddai yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid ar ol dyfod o'r farchnad neu lys barn, yn trochi eu hunain oll mewn dwfr" yn ol ystyr *baptizo:* oblegyd, "pe buasai y Phariseaid ond cyffwrdd â gwisg y werin, yr oeddynt yn halogedig, ac mewn anghen trochiad, ac o dan rwymau i'w geisio. Gan hyny, pan y rhodient yn yr heolydd, cerddent gydag ochr y ffordd fel na halogid hwy trwy gyffyrddiad â'r bobl. O herwydd hyn, ni fwytâent oddi eithr iddynt olchi neu drochi eu hunain mewn dwfr, ac arferent hefyd drochi eu dwylaw."

"Purent eu hunain," ebe Grotius, "gyda gofal mwy oddiwrth eu cyffyrddiad â'r farchnad, nid yn unig drwy olchi eu dwylaw, ond trwy drochi eu holl gorph."

Meyer, yn ei Esboniad ar y Testament Newydd, a ddywed fel y canlyn:—

"Nid yw y geiriau yn Marc vii. 4. (*ean mê baptisôntai*) i'w deall am *olchi* y *dwylaw*, ond am y *trochiad*, yr hyn a olyga y gair bob amser yn y prif awduron Groegaidd a'r Testament Newydd; hyny yw, yn ol y cyd-destynau, *ymdrochi*, (*the taking of a bath*). Felly hefyd Luc xi. 38. Cymharer Ecclus. xxxi. 25. Judith xii. 7. Wedi dyfod o'r farchnad, lle yn mhlith torf o bobl y gallent ddyfod i gyffyrddiad â phersonau halogedig, nid ydynt yn bwyta oddi eithr iddynt yn gyntaf ymdrochi. Y mae y desgrifiad yn myned rhagddo yn ol dull esgyniaith, (*climax*): cyn bwyta, y maent *bob amser* yn golchi eu dwylaw, ond yn *ymdrochi* pan y deuant *o'r farchnad*, ac yn awyddus i gymmeryd bwyd."

Yn ei esboniad ar Luc xi. 38., gwna Meyer y sylw canlynol:—

"Yr oedd yr Iesu newydd ddyfod allan o fysg y dorf, ïe, yr oedd newydd fwrw allan ysbryd aflan, (adn. 14.) am hyny dysgwylient y

buasai efe yn puro ei hun yn gyntaf trwy *ymdrochi* (by a *bath*) cyn y boreu-fwyd."

Mae amryw gyfieithiadau diweddar o eiddo Taenellwyr dysgedig, yn rhoddi yr ystyr yma i'r geiriau:—

"Oblegyd y Phariseaid, a'r holl Iuddewon, oddi eithr iddynt olchi eu dwylaw yn fynych, ni fwytânt, gan lynu wrth draddodiad yr hynafiaid; a phan y deuant o'r farchnadfa, oddi eithr iddynt ymdrochi (*unless they bathe*), ni fwytânt. Ac y mae llawer o bethau ereill ag y maent wedi eu derbyn i'w cadw, trochiadau (*dipping*, Gr. *baptismous*) cwpanau, ystênau, a llestri pres." (Marc vii. 4.)

"A'r Pharisead, wrth sylwi, a ryfeddodd nad ymdrochasai efe (*that he did not bathe*) cyn ciniaw." (Luc xi. 38.)—*The New Testament: Translated from the Greek Text of Tischendorf, by George R. Noyes, D.D. Boston*, 1869.

"Oblegyd y Phariseaid a'r holl Iuddewon ni fwytânt, oddi eithr iddynt olchi eu dwylaw yn ofalus, gan lynu wrth draddodiad yr hynafiaid; a phan y deuant o'r farchnadfa, ni fwytânt hyd nes y byddont wedi trochi eu hunain (*unless they dip themselves*). Ac mae llawer o bethau ereill ag y maent wedi eu derbyn i'w cadw, trochiadau (*dippings*, Gr. *baptismous*) cwpanau, ystênau, a llestri pres, a gorweddfeinciau." (Marc vii. 4.)

"Ond y Pharisead wrth sylwi, a ryfeddodd na throchasai efe (*that he had not dipped*) cyn ciniaw." (Luc xi. 38.)—*The Twofold New Testament: being a New Translation accompanying a Newly Formed Text. By the Rev. Thomas Sheldon Green, M.A. London: Bagster & Sons.*

Yr un peth, bron yn yr un geiriau, yw cyfieithiad y Parch. J. B. McClellan, M.A., yn ei gyfrol ddysgedig ar yr Efengylau. (London, 1875.)

Yn gyffelyb y cyfieitha Dr. Delitzsch yr adnodau dan sylw i'r Hebraeg, gan ddefnyddio RACHATS=*golchi mewn modd cyffredinol*, am *nipto* (golchi) yn Marc vii. 3., a TABAL=*trochi*, *ymdrochi*, am *baptizo*, a TEBILAH=*trochiad*, *tansuddiad*, am *baptismoi* yn Marc vii. 4. Yn Luc xi. 38., RACHATS yw y gair a ddefnyddia am *baptizo;* ond dylid cofio fod y gair hwn, er yn golygu weithiau golchi rhan o'r corph, megys y gwyneb neu y dwylaw, eto yn fynych yn golygu *golchiad yr holl gorph trwy waith un yn ymdrochi*, megys yn Ecsod. ii. 5. xxx. 20. Ruth iii. 3. 2 Sam. xi. 2. 2 Bren. v. 10. 13. Job ix. 30., &c. (Gwel *Gesenius's Heb. Lexicon*, o dan y gair רחץ.)

Yn y cyfieithiad Seisnig Diwygiedig, yr hwn a gyhoeddwyd Mai, 1881, gadewir y gair "golchi" am *baptizo* yn Marc vii. 4. a Luc xi. 38. fel o'r blaen, gyda sylw ar ymyl y ddalen yn Marc,—"Groeg, *baptize*." Yn yr Attodiad i'r Cyfieithiad Diwygiedig Seisnig, ceir rhestr o'r darlleniadau a'r cyfieithiadau, y rhai y rhoddai y Pwyllgor

Americanaidd y flaenoriaeth iddynt ar ddarlleniadau y Pwyllgor Prydeinig; ac yn eu plith, ceir a ganlyn* :—

Marc vii. 4:—"Yn lle 'ymolchi,' darllen 'ymdrochi' (*bathe*). Cymharer Luc xi. 38."

Luc xi. 38:—"Yn lle 'ymolchasai,' darllen 'ymdrochodd' (*bathed himself*). Cymharer Marc vii. 4."

Sonia Herodotus am arferiad cyffelyb yn mhlith yr Aiphtiaid :—"Ystyria yr Aiphtiaid (eb efe) foch yn greaduriaid mor aflan, fel os bydd i Aiphtwr ond cyffwrdd âg un o honynt wrth fyned heibio, y bydd iddo redeg at yr afon, a throchi (Gr. *ebapse*) ei hun ynddi yn ei ddillad." (*Eterpe*, ii. 47.)

Arferai y Groegiaid hefyd ymdrochi cyn bwyta y prif bryd (δεῖπνον) bob dydd; a'r Rhufeiniaid hefyd a arferent ymdrochi ar ol cymmeryd ymarferiad, a chyn bwyta prif bryd (*coena*) y diwrnod; a'r rhai glwth yn eu plith a ymdrochent ar ol bwyd yn gystal ag o'i flaen, er mwyn iddo dreulio, ac er mwyn iddynt gael archwaeth erbyn y pryd drachefn.

Os oedd y Phariseaid yn arfer ymdrochi ar ol bod yn y farchnad cyn ciniaw, nid yw hyny yn un rhyfeddod, o herwydd fod y cenedloedd cylchynol yn gwneyd yr un peth fel defod-gyffredin. (*Dictionary of Greek and Roman Antiquities, by W. Smith, Ll.D.*, o dan y gair BALISTA.)

Webster a Wilkinson hefyd, golygwyr dysgedig y Testament Newydd Groeg, gyda Nodiadau, a ddywedant y byddid arferol o ymolchi drwy drochiad mewn *bath* cyn y prif bryd, a thua diwedd y diwrnod. (*Webster & Wilkinson's Greek Testament, John* xiii. 10.)

Ond tybia ereill fod y gair *baptizo* yn Marc vii. 4. yn cyfeirio at *drochiad* y dwylaw, a *nipto* yn y drydedd adnod yn golygu eu golchi trwy *dywallt* dwfr arnynt; ac fel hyn y cyfieitha Dr. G. Campbell y geiriau:—"*Oblegyd ni fwyty y Phariseaid hyd nes y byddant wedi golchi eu dwylaw trwy dywallt ychydig ddwfr arnynt, ac os byddant yn dyfod o'r farchnad, drwy eu trochi.*" Dywed *Kitto's Cyclopædia*, o

---

* Wele restr gyflawn o enwau aelodau y Pwyllgor Americanaidd:—

Ex-President Theod. D. Woolsey, D.D., Ll.D.; Ezra Abbot, Ll.D., Cambridge, Mass.; G. R. Crooks, D.D., New York; Prof. H. B. Hackett, D.D.; Prof. James Hadley, Ll.D.; Prof. Charles Hodge, D.D.; Prof. A. C. Kendrick, D.D.; Rt. Rev. Alfred Lee, D.D., Wilm. Del.; Prof. M. B. Riddle, D.D.; Prof. P. Schaff, D.D.; Prof. Ch. Short, Ll.D.; Prof. J. H. Thayer, D.D.; E. A. Washburn, D.D.; Prof. W. T. Warren, D.D.; Rev. J. K. Burr, D.D., Trenton, N.J.; President Thos. Chase, Ll.D., Haverford College, Pa.; Chancellor Howard Crosby, D.D., New York; Prof. Timothy Dwight, D.D., Yale College, Conn.; Prof. H. B. Smith, D.D., U. Theol. Seminary, New York. (Gwel "*Anglo-American Bible Revision*," by Dr. Philip Schaff. London, Nisbet & Co. 1879.)

O'r rhai hyn, nid oedd ond Dr. Hackett a Dr. Kendrick yn Fedyddwyr.

dan y gair "*ablution*," mai *trochiad* y dwylaw mewn dwfr a ystyriai y Phariseaid mor dra anghenrheidiol. Dywed Lightfoot ar Marc vii. 4. fod yr Iuddewon yn galw "GOLCHIAD Y DWYLAW," *netilath yadaim*, a "THROCHIAD Y DWYLAW," *tebilath yadaim;* a bod *nipto* yn ateb i'r cyntaf, a *baptizo* i'r ail; fod y rhai a arosent gartref yn *golchi* eu dwrn cyn bwyta, ond nad oedd y rhai a ddeuent o'r farchnad yn bwyta nes *trochi* eu dwrn, gan nas gwyddent pa halogrwydd a gyfarfyddasent yn y farchnad. A'u dwylaw yr oeddynt yn codi eu bwyd i'w genau, ac oblegyd hyny yr oeddynt yn dra gofalus i'w glanhau.*

"Mae y gwahaniaeth yma rhwng *niptesthai* a *baptizesthai*, (ebe y Parch. William Trollope, M.A., yn ei Greek Testament, with Notes, ar Marc vii. 3.) sef fod y cyntaf yn golygu golchi y dwylaw trwy dywallt dwfr arnynt, a'r olaf trwy eu trochi mewn dwfr."

Wedi dodi y dyfyniadau hyn o flaen y darllenydd, gadawn iddo ef farnu pa un ai *trochiad y corph* ai *trochiad y dwylaw* a olygir; ond y mae yn amlwg iddo fod yr Iuddewon yn arfer pob un o honynt, a bod *baptizo* yma yn golygu trochiad.

Defnyddir y gair "bedydd" (*baptismous*) yn Marc vii. 4. am olchiad llestri, &c., yn mhlith yr Iuddewon:—"A llawer o bethau ereill y sydd, y rhai a gymmerasant i'w cadw; *megys* golchi (*baptismous*) cwpanau, ac ystenau, ac efyddynau, a byrddau. (*klinôn.*)" Ystyr y gair a gyfieithir yma "byrddau" yw *gorweddfäau*, neu *orweddfeinciau* (*couches*). "Yn y Dwyrain, y mae y tlodion yn cysgu ar fatiau neu ar lawr, wedi ymwisgo â'u dilledyn uchaf; a'r rhai cyfoethocach ar gwrlyd neu fatras wedi ei lenwi â chotwm, y rhai a daenir ar lawr neu ar y gorweddfeinciau (*sofas*) isel o amgylch yr ystafell." (*Robinson's Lex.*)

Yn Mat. ix. 2. 6. cyfieithir y gair *klinê* "gwely;"—"Cyfod, cymmer dy *wely* i fyny, a dos i'th dŷ." Yr oedd hwn mor ysgafn, fel y gallai y dyn ei gymmeryd i fyny. Golyga y gair hefyd fath o *sofa* neu orweddfainc isel, ar yr hon y lled-orweddai dynion wrth

---

*"The Israelites, who, like other Orientals, fed with their fingers, washed their hands before meals, for the sake of cleanliness. But these customary washings were distinct from the ceremonial ablutions, as they are now among the Moslems. There were indeed distinct names for them. The former was called simply NETILAH, or *washing*, in which water was *poured upon* the hands; the latter was called TEBILAH, *plunging*, because the hands were *plunged* in water. (Lightfoot on Mark vii. 4.) It was this last, namely, the ceremonial ablution, which the Pharisees judged to be so necessary. When therefore some of that sect remarked that our Lord's disciples ate 'with unwashen hands,' (Mark vii. 2.) it is not to be understood literally that they did not all wash their hands, but that they did not *plunge* them ceremonially according to their own practice." (*Kitto's Cycl. Art. Ablution.*)

fwyta. "Yr oedd y gorweddfeinciau hyn i gael eu golchi pan halogid hwy, a hyny trwy drochiad." Saif eu rheol fel hyn: "O barthed y gwely sydd oll yn halogedig, os trocha efe ef y naill ran ar ol y llall, fe fydd yn lân." Eto, "Os trocha efe y gwely yn y llyn dwfr, er i'w draed gael eu suddo i'r clai tew yn ngwaelod y llyn, y mae yn lân." (*Noel*, p. 37.) Neu, feallai, mai y mat neu y cwrlyd ar yr hwn y gorweddent a olygir, yr hwn a halogid trwy i berson aflan gyffwrdd âg ef. Gorchwyl hawdd fyddai trochi gwely cyffelyb i wely y claf o'r parlys. (Mat. ix. 2. 6.) "Mae yn ddiammheuol," ebe Dr. Halley, "fod yr Iuddewon yn dra gofalus a manwl i lwyr olchi dilladwaith a gorchudd eu heisteddfeinciau; ac os cymmer unrhyw un y drafferth i fyfyrio halogedigaethau amrywiol welyau a gorweddfeinciau, fel y darlunir hwy yn Maimonides a'r traethodau Talmudaidd, rhaid iddo, feddyliwn, gyfaddef yn onest, fod y dodrefn hyn mewn rhai amgylchiadau yn cael eu trochi mewn dwfr." (*The Sacraments*, vol. i. p. 383. London, 1844.) Cawn y sylw canlynol hefyd yn yr "*Annotated Paragraph Bible*," cyhoeddedig gan "Gymdeithas y Traethodau Crefyddol," ar Marc vii. 4:—"Yr oedd yr Iuddewon diweddar hyd y nod yn cyfarwyddo fod i attegwaith (*frame-work*) eu gorweddfeinciau gael eu tynu yn ddarnau a'u trochi." Gallwn, gan hyny, yn ddibetrus fabwysiadu y darlleniad a rydd Dr. G. Campbell, J. B. McClellan, Dr. Noyes, Dr. Delitzsch, a'r Parch. T. S. Green, M.A., o'r geiriau:—"Ac y mae llawer o arferion ereill y rhai y maent wedi eu derbyn i'w cadw, megys trochiadau cwpanau, ystênau, llestri pres, a gwelyau."

Defnyddir *baptizo* hefyd yn yr efengylau mewn ystyr ffugyrol:—"Eithr y mae genyf fedydd i'm bedyddio âg ef, ac mor gyfyng yw arnaf hyd oni orphener!" (Luc xii. 50. Mat. xx. 22. Marc x. 38.) *Ond nid wrth y defnydd ffugyrol a wneir o air, yr ydym i benderfynu ei ystyr gyffredin; ond oddiwrth ei ystyr lythyrenol a'r defnydd cyffredin a wneir o hono, yr ydym i benderfynu ei ystyr ffugyrol.* Gan mai ystyr gyffredin *baptizo* yw *soddi* neu *drochi*, rhaid cadw golwg ar hyny er mwyn i ni weled grym geiriau Iesu Grist yn yr adnodau dan sylw. Pan y defnyddir *baptizo* mewn modd ffugyrol, ei ystyr, ebe y Geiriadurwyr yw:—"*Bod yn drochedig mewn, neu yn orchuddiedig â chystuddiau, bod yn orthrymedig gan drallodau.*" "*Bod yn drochedig neu suddedig i ddiluw neu fôr*, fel pe byddai, *o gystuddiau a dyoddefiadau chwerwon.*" (Mat. xx. 22, 23. Marc x. 28. 39. Luc xii. 50.)

"*Yfed o'r un gwpan ag arall*, (ebe y Parch. W. Trollope, M.A., yn ei *Greek Testament*, ar Mat. xx. 22.,) yw cyfranogi o'i dynged, yn gyffredin mewn ystyr annymunol. Mae *bedydd* yn cael ei ddefnyddio yn yr Ysgrythyrau i osod allan suddiad mewn drygfyd (*immersion in calamity*). Cymharer Salm xlii. 7. cxxiv. 4, 5. Jer. xlvii. 2. Dan. ix.

26. Yn Luc xii. 50. geilw yr Arglwydd ei farwolaeth yn *fedydd;* a gelwir merthyrdod gan y Tadau yn *fedydd gwaed.* Yn unol â'r brophwydoliaeth a draddodir yma, rhoddwyd Iago i farwolaeth gan Herod, (Act. xii. 2.) ac alltudiwyd Ioan i ynys Patmos." (Dad. i. 9.)

"Yr wyf i gael fy suddo mewn cystuddiau," yw yr ystyr yn ol Dr. Hammond. "Cymmer y desgrifiad oddiwrth y dull o fedyddio trwy drochiad, neu soddi un dros ei ben a'i glustiau mewn dwfr," ebe Esboniad Cymmanfa Duwinyddion Westminster ar Mat. xx. 22.

"Y mae genyf yn wir," ebe Dr. Doddridge, "y bedydd mwyaf ofnadwy i gael fy medyddio âg ef, ac yr wyf yn gwybod y caf yn fuan fy *nhrochi,* fel pe byddai, mewn gwaed, a'm *suddo* yn y cyfyngder mwyaf gorchfygol." (*Doddridge ar* Luc xii. 50.)

Yn gysson â hyn yr oedd prophwydoliaeth yn llefaru am Grist: "Achub fi, O! Dduw; canys y dyfroedd a ddaethant i mewn hyd at fy enaid. *Soddais* mewn tom ddofn, lle nid oes sefyllfa; *daethum i ddyfnder dyfroedd, a'r ffrwd a lifodd drosof.*" (Salm lxix. 1, 2.)

Yn ol yr un rheol yr ydym i ddeall bedydd yr Ysbryd Glân; y meddylddrych yw *cyflawnder.* Y mae Cyril o Jerusalem yn esbonio bedydd yr Ysbryd Glân fel hyn:—"Dywedodd yr Arglwydd, 'Chwi a fedyddir â'r Ysbryd Glân cyn nemawr o ddyddiau;' oblegyd fel y mae efe, yr hwn a sudda i lawr i'r dyfroedd, yn cael ei amgylchu ar bob llaw gan y dyfroedd, felly y gorchuddiwyd yr apostolion drostynt oll gan yr Ysbryd." (*Instruction* viii. *on the Holy Spirit,* ii. 14.)

Ond y mae *baptizo* yn y commisiwn yn ei ystyr lythyrenol ac arferol, ac am hyny, hyd nes y byddo Rhoddydd y commisiwn wedi ei alw yn ol neu wedi ei gyfnewid, yr ydym ni i ymddwyn yn ol ei ddysgeidiaeth.

---

# PENNOD IV.

## BAPTIZO YN YR ACTAU.

---

*Yr Apostolion yn ymddwyn yn ol y Commisiwn—Pob cyfleusdra i drochi y 3,000—Dyfroedd Jerusalem—Bedyddiadau gan Chrysostom, Remegius, ac Awstin—Xavier yn India—Bedydd y Samariaid—Yr Eunuch—Teithio yn y Dwyrain—Robinson a Samson ar y man lle y bedyddiwyd yr Eunuch—Bedydd Paul, Cornelius, Lydia, a Cheidwad y carchar—Bedyddio yn y nos.*

Y MAE pawb yn cydnabod fod yr apostolion yn deall meddwl Crist yn y commisiwn; yr oeddynt wedi bod yn bedyddio yn ei enw cyn iddo farw; a phan y gorchymynodd efe ar ol ei adgyfodiad iddynt fedyddio dysgyblion yn mhlith yr holl Genedloedd, yr oeddynt yn deall ei feddwl, ac yn gwybod pa fodd i gyflawni ei archiad. Gan hyny, nid ydyw llyfr yr Actau amgen nag esboniad ymarferol ar gommisiwn Crist. Yr unig beth sydd yn galw am sylw yma yw, *nad yw yr hanes a gawn am fedyddio yn yr Actau yn annghysson â'r meddylddrych o fedydd trwy drochiad.*

Wedi cael eu gwisgo â nerth o'r uchelder, yr oedd yr apostolion yn pregethu yn rymus ac argyhoeddiadol ar ddydd y Pentecost, a'r canlyniad fu i lu mawr o'r gwrandawyr gael eu hargyhoeddi, a'u dwyn i ofyn, "Ha wŷr frodyr, beth a wnawn ni?" Wele yr Ysbryd Glân, yr hwn oedd "i dywys" yr apostolion "i bob gwirionedd" (Ioan xvi. 13.) yn tywys Pedr i ddweyd, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." "Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar, a fedyddiwyd; a chwanegwyd atynt y dwthwn hwnw yn nghylch tair mil o eneidiau." (Act. ii. 37—41.) Yr oedd y fath arddeliad ar bregethiad yr apostolion, fel yr ofnodd y gelynion; "ac ofn a ddaeth ar bob enaid." (adn. 43.) Ni wrthwynebid iddynt yr adeg hon hyd y nod i fynychu y deml; yr oeddynt "beunydd yn parhau yn gytun yn y deml." (adn. 46.) Gan hyny ni rwystrid yr apostolion a'r brodyr i weinyddu yr ordinhad yn ol y rheol, oblegyd yr oedd "amddiffyn ar y gogoniant," ac yr oedd y brodyr yn "cael ffafr gan yr holl bobl." (adn. 47.)

Y mae haneswyr dysgedig yn ein dysgu fod yn Jerusalem gyflawnder o ddwfr. Addawsai Duw ddwyn Israel "i wlad dda, *i wlad afonydd dyfroedd, ffynnonau, a dyfnderau yn tarddu allan yn y dyffryn,*

*ac yn y mynydd.*" (Deut. viii. 7.) Pan yr oedd Senacherib ar ymosod ar Jerusalem, yr oedd y fath gyflawnder o ddyfroedd y *tu allan* iddi, fel y bu i Hezeciah alw llu mawr o bobl yn nghyd i'r dyben i gau y ffynnonau :—"Felly pobl lawer a ymgasglasant, ac a argaeasant yr holl ffynnonau, a'r afon sydd yn rhedeg trwy ganol y wlad, gan ddywedyd, Paham y daw breninoedd Assyria, ac y cânt ddyfroedd lawer?" (2 Chron. xxxii. 2—4.) "Yr oedd Jerusalem yn cael ei chyflenwi mor helaeth â dwfr, fel na theimlwyd yr un annghyfleusdra ar y pen hwn hyd y nod yn ystod y gwarchae aml a maith a fu ar y ddinas. Trengai y bobl o newyn, ond nid o syched." (*The Land and the Book*, p. 656.) Yr oedd llawer o ddwfr yn ofynol at wasanaeth y deml a'r golchiadau Iuddewig. (Ecsod. xxix. 4. xxx. 18. Lef. vi. 27. xiii. xiv. xv. xvi. xvii. 15, &c.) Y mae y Dwyreinwyr yn hoff o ymdrochi. Yr oedd llawer o ymdrochleoedd yn mhlith y Groegiaid a'r Rhufeiniaid.* Dywedir fod yn Rhufain 856 o ymdrochleoedd cyhoeddus, a bod rhai o honynt yn ddigon helaeth i 1,600 ymdrochi ynddynt ar unwaith. Yn Twrci a Phersia, y mae ymdrochi mewn ymdrochleoedd cyhoeddus yn beth cyffredin. (*Orchard's History*, p. 16, 17.) Yr oedd Jerusalem mor gyflawn ei dyfroedd ag unrhyw dref Ddwyreiniol arall. Yr oedd y tyrfaoedd aruthrol a ymwelent â Jerusalem yn gofyn fod cyflawnder o ddyfroedd yn y ddinas, a hwnw yn hawdd ei gyrhaedd i'r ymwelwyr; a diammheu mai hyn a achosodd wneuthuriad y llynoedd a'r cronfaoedd dwfr dirfawr yn y ddinas. Gall y rhai a welsant y cronfaoedd hyn yn bersonol roddi tystiolaeth gywir am danynt. Fel y canlyn y dywed Dr. Thomson, y Cenadwr enwog yn Mhalestina:—"Rhoddais heddyw i edrych llynoedd a ffynnonau Jerusalem. Y cyntaf a chwiliais oedd llyn Hezeciah, *o fewn* y ddinas, ac i'r Deheu o'r monachdy mawr Groegaidd. Y mae yn agos i 250 o droedfeddi o hyd, a 150 o led—cronbwll aruthrol, yr hwn a allai ddal dwfr ddigon i hanner y ddinas. Yr oedd fy arweinydd yn ei alw Birket Hammam,

---

*Pan ar ymweliad âg Itali yn 1877, talodd yr awdwr ymweliad â rhai o ymdrochdai ac ymdrochleoedd Pompeiï a Rhufain. Nid oedd ymdrochleoedd Pompeiï ond rhai bychain a dinod i'w cymharu âg ymdrochleoedd Rhufain. Yr oedd *Ymdrochleoedd Diocletian*, yn Rhufain, yn 200 troedfedd o hyd, a 100 troedfedd o led, a rhifai yr ymdrochwyr tua 3,000 yn ddyddiol. Yr oedd *Ymdrochleoedd Caracalla* (yn mysg adfeilion pa rai y treuliodd yr awdwr rai oriau yn 1877,) yn 240 llathen o hyd, a 124 llathen o led; ac yr oeddynt yn ddigon ëang i 1,600 o bersonau ymdrochi ynddynt ar yr un pryd. Yr oedd saith o rai ereill cyffelyb i Ymdrochleoedd Caracalla yn ninas Rhufain. (Gwel Baedeker's *Central Italy*, pp. 173. 253, 254. Cook's *Tourist's Hand-Book for Southern Italy*, p. 112. Adams's *Buried Cities of the Campania, chap.* vii. Dr. W. Smith's *Dictionary of Greek and Roman Antiquities*, Article, BALISTA.)

a dywedai fod y dwfr yn cael ei ddefnyddio yn benaf er ymdrochi. Aethum allan drwy Borth Jaffa, ac i Gihon Uchaf. Dygir dwfr o hono mewn dyfrffos (*aqueduct*) fechan i'r ddinas, a diwalla lyn Hezeciah. Y mae (llyn) Gihon Uchaf tua 150 o latheni i'r Gorllewin o'r ddinas, a thua 300 o droedfeddi o hyd, 200 o led, a 20 troedfedd o ddyfnder. Y mae Gihon Isaf tua 600 troedfedd o hyd, 250 troedfedd o led, a 40 troedfedd o ddyfnder. Y mae llyn Siloam tua 50 troedfedd o hyd, 20 troedfedd o ddyfnder, a thua yr un faint o led." (*The Land and the Book*, pp. 654, 655.) Gyda golwg ar lynoedd Solomon, dywed yr un awdwr,—"Y maent yn deilwng o Solomon, a dyna y nodyn uchaf y gallaf feddwl am dano yn awr. Yn sicr y maent yn ddyfrgistiau anferth. Y mae cyfartaledd yr un pellaf i'r Dwyrain yn wir ardderchog; mae yn agos i 600 troedfedd o hyd, 200 o led, a 50 o ddyfnder. Pan yn llawn, buasai yn nofio y llong ryfel fwyaf a arddodd y cefnfor erioed."

A ganlyn yw mesuriad Dr. Edward Robinson o'r llynoedd yn nghymmydogaeth Jerusalem:—

| Enwau. | Hyd. | Lled. | Dyfnder. |
|---|---|---|---|
| Llyn Bethesda .... | 360 troedfedd | 130 troedfedd | 75 troedfedd |
| Gihon Uchaf...... | 316 " | 200 " | 18 " |
| Gihon Isaf........ | 592 " | 245 i 275" | 35 i 42 " |
| Llyn Hezeciah .... | 210 " | 144 " | Nid dwfn |
| Llynoedd Solomon | | | Pen Dwyrein- |
| " Llyn Isaf.. | 582 " | 148 i 207" | iol 50 " |
| " Llyn Canol. | 423 " | 160 i 250" | " " 39 " |
| " Llyn Uchaf. | 380 " | 229 i 236" | " " 25 " |
| Llyn Siloam ...... | 53 " | 18 " | 10 " |

Dylid cofio hefyd fod gan y Dwyreinwyr ddyfrgistiau yn eu tai. "Y mae y cwestiwn am ddyfroedd Jerusalem o gryn bwys. Yr ymddibyniad penaf am ddiwalliad cysson a chyfleus (o ddwfr) yw, *ac a fu bob amser*, feddyliwn, y dyfrgistiau teuluaidd. Y mae gan bob tŷ un neu fwy; felly y mae gan bob addoldy, pob teml Fahometanaidd, monachdy, castell, ac ymdrochdy. Cedwir llawer o'r rhai hyn yn dda, ac y mae y dwfr yn oer, pêraidd, a rhydd oddiwrth bryfaid. Yr oedd yn y tŷ a ardrethais i gyntaf yn Jerusalem dair o ddyfrgistiau; yr oedd yn nhŷ Mr. Lanneau, fy nghyd-Genadwr bedair, ac yr oedd dwy o honynt yn fawr iawn." (*The Land and the Book*, p. 656.) Nid oedd anhawsdra, ynte, yn bodoli yn Jerusalem o ran prinder dwfr, i gladdu dynion gyda Christ yn y bedydd; ni fu dinas

Ddwyreiniol erioed mewn bodolaeth yn meddu mwy o gyflawnder o ddyfroedd na Jerusalem. Yr oedd y cronfaoedd aruthrol yma a thraw, oddi fewn ac oddi allan i'r ddinas, yn nghyda'r dyfrgistiau teuluaidd, &c., yn rhoi pob cyfleusdra i'r dychweledigion ar ddydd y Pentecost, i ymateb cydwybod dda tuag at Dduw, trwy wisgo Crist yn y bedydd. Yn wir, yr oedd y dyfrgistiau (*cisterns*) teuluaidd yn ddigon helaeth i fedyddio dynion mewn oed, pe buasai anghen, fel y dengys y cyfrif canlynol gan Dr. Robinson, am faintioli y rhai yn nhŷ Mr. Lanneau :—

| | Hyd. | Lled. | Dyfrder. |
|---|---|---|---|
| 1 | 15 troedfedd | 8 troedfedd | 12 troedfedd |
| 2 | 8 " | 4 " | 15 " |
| 3 | 10 " | 10 " | 15 " |
| 4 | 30 " | 30 " | 20 " |

(Gwel *Robinson's Biblical Researches in Palestine, vol.* i. pp. 480—514.; *vol.* ii. pp. 164, 165.)

Yr oedd llynoedd Siloam a Bethesda yn rhydd i bawb, ac o fewn eu cyrhaedd; (Ioan v. 2, 3. ix. 7.) yr oedd lliaws mawr o gleifion yn arfer gorwedd wrth lyn Bethesda, ac yr oedd Crist yn anfon y dyn dall i lyn Siloam.

Llenwid y cronbyllau aruthrol hyn mewn canlyniad i'r gwlawogydd a gymmerai le yn Palestina. "Y mae y gwlawogydd hydrefol yn dechreu yn gyffredin tua diwedd Hydref, neu ddechreu Tachwedd. Yn ystod misoedd Tachwedd a Rhagfyr, parha i wlawio yn ddwys; ar ol hyny nid ydyw yn gwlawio mor fynych ac mor ddwys, ond nid ydyw y gwlawogydd yn peidio yn hollol drwy'r gauaf. Parha i wlawio mwy neu lai ar hyd mis Mawrth." (*Kitto's Palestine.*) Yr oedd y Pentecost y flwyddyn dan sylw, yn disgyn ar yr 28ain o Fai. (*Greswell's Harmony; Noel*, p. 97.) Yr oedd yn y ddinas, gan hyny, ddigon o ddwfr at wasanaeth y trigolion hyd ddiwedd Hydref; ac nid oes un rheswm i feddwl nad oedd ynddi ddigon o ddwfr, a phob cyfleusdra i fyned ato, i fedyddio y dychweledigion.

Dichon ei fod yn ymgynnyg i feddwl y darllenydd, pa fodd y gellid bedyddio yn y cronfaoedd hyn, pe buasai eisieu, gan fod y fath gyflawnder o ddwfr ynddynt? I symmud yr anhawsdra hwn, sylwer ar y pethau canlynol :—

1. Gan mai yn raddol y llenwid y llynoedd, gellid attal y dwfr i redeg iddynt. Gellir cael yn bresennol y dyfnder a fynir yn llyn Siloam a'i gronfa, drwy godi argae amserol ar draws y pistyll, yr hyn a wneir yn awr gan y brodorion. (*Robinson's Researches, vol.* i. pp. 497, 502. *Historical and Descriptive Memoir on the Town and Environs of Jerusalem. By George Williams, B.D.*, p. 54. *London:* 1849.) Sonia

Antoninus y merthyr, yn y chweched ganrif, fod dynion yn ymdrochi yn gysson yn llyn Siloam. (*Baptismal Tracts for the Times*, p. 127. *Boston, U.S.* 1851.) Yr oedd gorchymyn Crist i'r dyn dall yn cynnwys fod cyflawnder o ddwfr yn Siloam, a rhyddid a chyfleusdra i ymdrochi ynddo.* (Ioan ix. 7. 11.)

2. Yr oedd yn y Llyn Uchaf, (Esai. vii. 3.) neu Gihon Uchaf, risiau yn ei gonglau er cyfleusdra dynion i ddisgyn i lawr iddo. Yr oedd yn gyfleus i banwyr a llifwyr y ddinas i ddwyn eu gwaith yn mlaen ynddo. (*Robinson's Researches, vol.* i. p. 484.) "Yr oedd ei waelod (ebe Dr. Robinson,) yn graig wedi ei gwastadhau, a'i gorchuddio â chymmrwd (*cement*), ac ar yr ochr Orllewinol, mae y graig wedi ei thori i lawr i beth dyfnder." Pan yr ymwelai Dr. Robinson âg ef, tua chanol mis Mai, yr oedd tua hanner llawn." (*Robinson's Researches, vol.* i. p. 484.) Dywed offeiriad Seisnig, y Parch. George Williams, B.D., yr hwn a fu yn Mhalestina yn 1841, fod grisiau yn arwain i lawr i lyn Hezeciah yn ei gongl Ogleddorllewinol, ac nad yw y dwfr yn cymmeryd ond rhan o'r llyn yn y gongl Dde-ddwyreiniol. (*Hist. and Descriptive Memoir*, p. 19.) Dengys hyn fod yn hawdd disgyn i'r llyn, ac hefyd fod osgo yn ngwaelod y llyn, neu ni fuasai y dwfr yn un gongl yn fwy na'r llall. Yr oedd yn y llynoedd hyn le cyfleus i fedyddio y dychweledigion. Ffurfiwyd llyn Gihon Isaf ar draws gwaelod dyffryn; yn ei *ddau ben* y mae dau fûr neu ddyfrgloddiau, *ond osgo naturiol y dyffryn yw ei ochrau*. (*B. T. for the Times*, p. 132. *Robinson's Researches, vol.* i. p. 485.) Nid oedd modd cael lle mwy cyfleus a dymunol na hwn. Yr oedd yn cuddio *pedair erw o dir*, a'i ochrau wedi eu ffurfio gan natur; a phe na buasai un lle arall i'w gael, yr oedd yma fedyddfa odidog i fedyddio dychweledigion dydd y Pentecost.

Wrth son am Lynoedd Solomon yn nghymmydogaeth Jerusalem, dywed Dr. Robinson, fod grisiau mewn amryw leoedd yn arwain i lawr i bob un o honynt;—nad oedd y Llyn Uchaf, pan yr oedd efe yn y lle, mewn un modd yn llawn, er fod y dwfr wedi gorchuddio ei holl waelod; ac *mai yn y rhan isaf yn unig o'r ddau lyn arall y safai y dwfr*. (*Robinson's Researches, vol.* ii. p. 164, 165.)

3. Yr oedd llyn Bethesda yn le tra chyfleus i fedyddio. Dywed Eusebius a Jerome fod y llyn hwn yn eu dyddiau hwy yn cael ei ddangos fel llyn dwbl; a bod un o honynt yn cael ei lenwi gan y

---

* Gŵyr y darllenydd, ond odid, mai yn Llyn Siloam y bedyddiwyd yr Arab dychweledig Yohannah El Carey, yr hwn sydd yn bresennol yn Nablous, neu hen ddinas Samaria.

gwlawogydd blynyddol, a bod dyfroedd y llall yn ymddangos fel pe byddent yn goch, gan arddangos y gwaith a wnelid ynddo gynt; oblegyd dywedant fod yr offeiriaid yn arfer a golchi yr aberthau ynddo, a'i fod o herwydd hyny wedi cael ei alw PROBATIKE, neu *lyn y defaid.* Y mae tystiolaeth y rhai hyn o bwys, oblegyd yn Cesarea, Palestina, yn O.C. 270, y ganwyd Eusebius, ac yno y bu fyw hyd ddiwedd ei oes. Bu Jerome yn Bethlehem, yn agos i Jerusalem, am dros 30 mlynedd, sef o O.C. 386, hyd ei farwolaeth yn O.C. 420. Dengys tystiolaeth y ddau hyn fod llyn Bethesda yn *eithaf adnabyddus* yn eu dyddiau hwy, ei fod *yn y ddinas*,—mor agos *i'r deml* ag i fod yn gyfleus i olchi yr aberthau ynddo,—ei fod yn cael ei *lenwi â dwfr*,—ac mai *yr un ydoedd* a'r hwn y sonir am dano yn efengyl Ioan. Y mae tystiolaethau Rhyfelwyr y Groes a phererinwyr Groegaidd i'r un pwrpas, mewn oesoedd diweddarach. Yn nyddiau Crist, yr oedd y llyn hwn mor fawr fel ag yr oedd iddo bum' porth, o dan gysgod pa rai "*y gorweddai lliaws mawr o gleifion*," &c., y rhai oeddynt *at eu rhyddid i ymdrochi yn y llyn*, ac yr oedd cyflawnder o le iddynt oll. Os gallai yr offeiriaid olchi yr aberthau ynddo, a chleifion ymdrochi ynddo, gellir tybied y gallasai apostolion Crist fedyddio ei ddysgyblion ef ynddo, pe buasent yn ewyllysio; a chan eu bod yn "cael ffafr gan yr holl bobl," a "beunydd yn parhau yn gytun yn y deml," y mae yn naturiol i ni dybied na fuasai neb yn beiddio eu rhwystro i ufyddhau i ddysgeidiaeth y commisiwn ar yr adeg dan sylw: gwel *Baptismal Tracts for the Times*, pp. 112—135.

Gyda golwg ar fedyddiad y dychweledigion ar ddydd y Pentecost, y mae yr hanes yn dra byr a chynnwysfawr, ac amryw bethau yn cael eu gadael ynddo yn anmhennodol:—

1. *Nid ydym yn sicr fod yr oll o'r tair mil wedi cael eu bedyddio yr adeg dan sylw.*

Dichon, fel yr awgryma Meyer, fod amryw o'r rhai a fedyddiasai Ioan yn mhlith y rhai a chwanegwyd at yr eglwys, ac nid oedd eisieu eu bedyddio hwy drachefn. Nid ydym yn cael fod yr Arglwydd Iesu wedi ail fedyddio neb o'r apostolion, nac fod Acwila wedi ail fedyddio Apolos; ac os ail-fedyddiwyd y dysgyblion hyny yn Ephesus, yr achos ydoedd eu bod wedi cael eu bedyddio yn flaenorol, mae'n debygol, gan ryw benboethyn anoleuedig, tra yr oeddynt heb amgyffred egwyddorion sylfaenol yr efengyl. (Act. xix. 1—5.) Pe buasai eisieu ail fedyddio dysgyblion Ioan, ni fuasai ei ddysgyblion ef yn "bobl barod" i'r Arglwydd yn ol y rhagfynegiad. (Luc i. 17.)

2. *Ni wyddys pa nifer oedd wrth y gwaith o fedyddio y dychweledigion.*

Nid oes brawf fod yr apostolion eu hunain wedi bedyddio neb o'r tair mil. Fel rheol, ymddiriedent y gwaith o fedyddio i'w cynnorthwywyr; a chan eu bod yn gwneyd hyny ar adegau ereill, mae'n dra thebygol, wrth ystyried rhifedi y dychweledigion, eu bod wedi gwneyd yr un modd yn awr, neu o leiaf wedi galw ar rai o'r brodyr i'w cynnorthwyo. Cawn Phylip, y diacon, yn bedyddio yr Eunuch, a'r dysgybl Ananias yn bedyddio Saul. (Act. viii. 38. ix. 38.) Yr oedd i'r Arglwydd "bobl lawer" yn Nghorinth, ond ni fedyddiodd yr apostol Paul ei hun ond ychydig o honynt. (Act. xviii. 8. 10. 1 Cor. i. 14—16.) Dichon fod yr apostolion, os yn bedyddio eu hunain ar ddydd y Pentecost, yn trefnu i rai o'r "deg a thri ugain," (Luc x. 1. 17.) i rai o'r "ugain a chant," (Act. i. 15.) ac i rai o'r "pum' can' brodyr," (1 Cor. xv. 6.)—eu cynnorthwyo yn y gwaith. Gwel *Doddridge, Bengel,* a *Barnes* ar 1 Cor. i. 14—18.)

3. *Nid yw y geiriau yn ein rhwymo i gredu fod y rhai a fedyddiwyd wedi cael eu bedyddio oll o fewn yr un dydd, ac yn yr un lle;* ond ar yr adeg hôno, yn ol fel yr oedd amgylchiadau a chyfleusdra yn caniatâu. Gwel Hackett ar y lle.

4. *A thybied fod y tair mil wedi cael eu bedyddio o fewn yr un diwrnod, yr oedd hyny yn hollol ddichonadwy.*

"Os tybiwn fod hanner cant o'r rhai hyn (y 70 efengylwyr, ebe B. W. Noel,) yn cynnorthwyo yr apostolion i bregethu i'r miloedd ymgynnulledig i Wyl y Blaenffrwyth, yr oedd o leiaf dri ugain o weinidogion Crist, cydrhwng yr apostolion, yn ymwneyd â'r gwaith o fedyddio y dychweledigion. Yn fuan ar ol naw o'r gloch, yr oedd annerchiad Pedr i'r dorf wedi darfod. (Act. ii. 15.) Tybiwn fod awr wedi ei threulio ar ol hyny mewn ymddyddan, (Act. ii. 40.) yna o un ar ddeg o'r gloch, i'r fan bellaf, hyd chwech yn y prydnawn, gallai y tri ugain gweinidog i Grist fod wrth y gwaith o fedyddio y dychweledigion yn ngwahanol lynoedd ac ymdrochleoedd y ddinas. Byddai gan bob gweinidog ddeg a deugain i'w bedyddio; ac mae yn amlwg na wnelai y gwasanaeth pwysig, gyda gweddi a mawl, ofyn mwy na dwy neu dair awr i'w gyflawni; tra y gwnelai gwres yr haul yn lledred deuddeg ar hugain o raddau (*latitude* 32°) drochiad y rhai na fyddai ganddynt gyfleusdra i newid dillad, a'r rhai a drochid yn yr awyr agored, lawn mor ddiberygl a throchiad y miloedd Hindwaid yn ein dyddiau ni yn eu hafonydd santaidd." (*Noel's Ext. Act of Baptism,* pp. 100, 101.)

Y mae hanesiaeth eglwysig yn ein cynnysgaethu â ffeithiau cyffelyb i'r uchod.

"Ar y Sabbath mawr o wyl y Pasc, yr 16eg dydd o Ebrill, oed Crist 404, darfu i Chrysostom trwy gymhorth offeiriaid ei eglwys ei hun yn unig, fedyddio *tair mil o bersonau* trwy drochiad." (*Ripley's Notes on the Acts* ii. 41.) Gwnaeth hyn er i'r milwyr ymosod arno

ddwy waith. Dylid cofio hefyd ei fod ef yn arfer tri throchiad. "Felly yn y flwyddyn 496, darfu i Remegius, esgob Rheims, yn yr un diwrnod, fedyddio trwy drochiad, Clovis, brenin Ffrainc, a *thair mil* o'i ddeiliaid." (*Jewett*, p. 43. *Mosheim*, p. 117. *Robinson's Hist. of Baptism*, p. 113.) Yr achos fod y fath rifedi yn cael eu bedyddio yr un pryd oedd, mai ar ddydd y Pasc a'r Sulgwyn, ac weithiau y Nadolig, y byddid arferol o fedyddio yn y bummed a'r chweched ganrif. (*Mosheim*, p. 107. *Duncan*, p. 226.) Dywed D'Aubigne "fod Awstin wedi bedyddio deng mil o baganiaid mewn un diwrnod." (*History of the Ref. in England.*) Anfonwyd un a deugain o Genadon o Rufain i Loegr yn y flwyddyn 597, o dan arolygiaeth Awstin, gan Gregory Fawr. Dywed Bede a John Fox fod Awstin a Paulinus, un o'i gydgenadon, "yn bedyddio yr Anglo-Saxoniaid mewn afonydd," sef y Glen, Swale, a Trent. (*Hinton on Baptism*, pp. 165.) Bedyddio trwy drochiad yr oeddynt, oblegyd dyna oedd arferiad eglwys Rhufain yn yr oes hôno, ac felly y bedyddiai y Saeson ar ol hyny; ac y mae Gregory Fawr, y Pab a anfonodd Awstin a Paulinus i Loegr, wrth son am fedydd, yn dweyd,—"Ond nyni, gan ein bod yn trochi (*mergimus*) dair gwaith, ydym yn arddangos y sacrament o gladdedigaeth am dri diwrnod." (*Dr. Cutting's Historical Vindications*, p. 72.)

Yn y blynyddoedd 1877 a 1878, bendithiwyd Cenadaeth y Bedyddwyr Americanaidd yn mhlith y Teloogooaid yn nghanolbarth yr India Ddwyreiniol, â llwyddiant Pentecostaidd. Ysgrifena y Cenadwr, y Parch. J. E. Clough, i'r *American Baptist Missionary Magazine*, am Medi, 1878, fod nifer y rhai a fedyddiwyd o Mehefin 16eg i Gorphenaf 7fed o'r un flwyddyn, yn 5,429. Y rhifedi mwyaf a fedyddiwyd mewn un diwrnod, sef Gorphenaf 3ydd, oedd *dwy fil, dau gant, a dau ar hugain.* (2,222.) Gwel Rev. D. B. Ford's *Studies on the Baptismal Question*, p. 409. *Boston*, *U.S.*, 1879.

Os gellid dweyd fod y personau uchod wedi bedyddio y fath lu trwy drochiad, a eir i ddadleu yn erbyn tystiolaeth yr hanesydd ysbrydoledig? "Os tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy." (1 Ioan v. 9.)

Nid ydwyf yn gwybod pa faint lai o amser a fyddai yn ofynol i deanellu tair mil o ddynion; ond y mae genym hanes am lu mawr yn cael "eu bedyddio (?)" mewn rhyw ddull neu gilydd, gan Xavier, arwr mawr y Jesuitiaid, a hyny mewn ychydig amser. Glaniodd Xavier yn Goa, India, yn O.C. 1542; aeth oddi yno i Cape Comorin; a chan na ddeallai iaith y bobl, ac yn amddifad o gyfieithydd, cymmerodd y gwaith mewn llaw "o daenellu babanod ac ymweled â'r cleifion." Wedi dysgu ychydig o iaith y bobl a chofio rhyw bethau ar dafod leferydd, elai oddi amgylch â chloch yn ei law, gan gasglu y bobl yn nghyd, ac adrodd iddynt yr hyn a allai o nwyddau eglwys Rhufain. Bu ei lwydd mor fawr, fel y "bedyddiodd (?)" â'i law ei hun ddeng mil o fewn un mis! Ië, dywed ei fod yn fynych wedi

"bedyddio" pentref poblog mewn un diwrnod!! (*Trevor's Historical Sketch of India*, p. 309.)

Mae'n bossibl ei fod ef yn cyflawni y ddefod hon, fel y gwnai rhyw Genadon selog yn Ynys Sandwich ychydig o flynyddau yn ol, pryd y taenellwyd dwfr ar 1,705, wedi eu dosbarthu yn finteioedd, â gwrychell neu ysgubell, ("*brush or broom*,") gan ddweyd y ffurf-reol ("*the baptismal formula*,") unwaith uwchben yr holl dyrfa! (Ford's *Studies on the Bap. Question*, p. 188.)

Os derbynir pethau fel hyn yn ffeithiau, y mae yn ddiystyrwch ar y gyfrol ysbrydoledig i gyfodi rhwystrau er diddymu ei thystiolaeth hi.

Y mae gwir ffydd yn esgor ar ufydd-dod, a chariad at Dduw yn dwyn dynion i barchu ei osodiadau. Dygodd ffydd y Samariaid hwy i gymmeryd iau Crist arnynt:—"Eithr pan gredasant i Phylip, yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac i enw Iesu Grist, hwy a fedyddiwyd yn wŷr ac yn wragedd." (Act. viii. 12.) Yr oedd lle dymunol yn Samaria i drochi y dychweledigion hyn i Grist. Addurnir Samaria â golygfeydd prydferth a swynol, a ffrydiau ac afonydd yn llifo trwyddynt. (*Noel*, p. 101.) "Yr oedd (Samaria) gynt yn ddinas gref iawn, yn sefyll ar fynydd, mewn gwlad brydferth, yn meddu cyflawnder o ddwfr, ac yn amgylchynedig gan erddi, gwinllanoedd, perllanau, a llwyni o goed olewydd." (*Kitto's Cycl. Art. Samaria.*) "Y mae cyflawnder o ddwfr yn y gymmydogaeth. Y mae ffynnon dda ychydig o ffordd islaw y De-ddwyrain, ac afonig o'r mynyddau yn yr un cyfeiriad ddigon o'i mhaint i droi melin; ac yn y gauaf y mae ffrwd melin odidog hefyd yn llifo heibio i ochr Ogleddol y bryn. Y mae y rhai hyn i gyd yn uno yn ngwaelod y gwastadedd i'r Gogledd-orllewin o'r ddinas, ac, fel y deallwyf, yn ffurfio rhan o'r afon, yr hon, wrth y Môr i'r Deheu o Cesarea, a elwir Abu Zabura." (*The Land and the Book*, p. 468.)

Er mor brydferth y mae hanes bedyddiad yr Eunuch yn cydgordio â'r meddylddrych o fedydd trwy drochiad, ac er mor annghysson ac annaturiol ydyw â'r dyb mai ei daenellu a gafodd y boneddwr, eto, dywedir yn erbyn yr hanes yma fel cofnodiad o fedydd drwy drochiad. Taenellwyr eu hunain a gyfieithasant y Beibl, ac eto mae taenellwyr yn gwadu cywirdeb y cyfieithiad, mewn amgylchiad ag y buasai yn dda gan y cyfieithwyr allu eu boddhau, pe buasai eu cydwybod (yr hon a orthrymid yn barod gan yr iau freninol) yn caniatâu! Dywedir nad ydyw "*i'r* dwfr," yn golygu mwy nag "*at* y dwfr;" nac "*o'r* dwfr," yn golygu mwy nag "*oddiwrth* y dwfr." (Act. viii. 38, 39.) Digon yw dweyd ar hyn yma, fod yr arddodiaid a ddefnyddir yn yr adnodau hyn yn golygu yn gyffredin *i'r* ac *o'r;* ac os nad ydyw yr arddodiaid hyn yn gosod y meddwl yma allan, nid oes yn

yr iaith Roeg yr un a wna. Nis gallai Bedyddiwr yn yr oes hon ddefnyddio iaith rymusach i osod allan hanes bedydd trwy drochiad. "Byddai yn *dra annaturiol* (ebe Dr. Doddridge,) i feddwl fod y ddau (Phylip a'r Eunuch) wedi myned i lawr i'r dwfr, yn unig er mwyn i Phylip godi ychydig ddwfr yn ei law i'w dywallt ar yr Eunuch. Yr oedd gan berson o'i urddas ef, mae yn ddiau, lawer o lestri yn mysg ei glud-bethau ar y fath daith drwy wlad anial, yr hyn sydd rag-ocheliad anhebgorol anghenrheidiol i deithwyr yn y parthau hyny, ac nid ydyw byth yn cael ei esgeuluso ganddynt." (*Doddridge ar y lle.*) Y casgliad yw, ynte, pe buasai yr Eunuch i gael ei daenellu, y gallasid gwneyd hyny yn y cerbyd; ond gan ei fod i gael ei drochi, yr oedd yn ofynol myned "i waered i'r dwfr" er cyflawni y weithred.

Fel yr awgryma Dr. Doddridge, y mae teithwyr yn arfer cludo dwfr i'w canlyn. "Pan oedd Mr. Stephen yn troi allan am fynydd Seinai o Cairo, yr oedd un o'i gamelod yn cludo dau o'r crwyn mwyaf yn cynnwys dwfr hidledig y Nilus. Pan oedd Dr. Wilson a'i gymdeithion yn cychwyn ar yr un daith, yr oedd eu dwfr yn gofyn pedwar camel i'w gludo." Dywed Lamartine, "fod ffynnon dda yn Bethulie. Bu Arabiad am awr yn tynu dwfr i ddiwallu y ceffylau, ac i lenwi y costrelau, y rhai a fechid wrth gyfrwyau ein mulod." (*Noel*, p. 90.) Gallwn fod yn sicr, ynte, fod gan ddyn o sefyllfa yr Eunuch, mewn hinsawdd boeth, gyflawnder o'r dyfrgostrelau hyn yn llawnion at ei wasanaeth, yn neillduol gan fod ganddo i groesi anialwch Sur, cyn y gallai gyrhaedd y Nilus. Pa anghen, gan hyny, oedd aros nes y daethent at ddwfr, a myned o'r cerbyd i'r dwfr, os ei daenellu a gafodd? Yr oedd teyrnas Candace yn un o'r teyrnas-oedd cyfoethocaf. (*Kitto's Cycl. Art. Candace.*) Yr oedd hi, gan hyny, yn frenines gyfoethog, a'r Eunuch oedd ei thrysorydd. (Act. viii. 27.) Yr oedd gan ddyn cyfoethog fel efe, babellau a gwisgoedd. Yr oedd cyflawnder o ddillad yn beth cyffredin gan gyfoethogion y Dwyrain. Yr oedd brenin Syria yn anfon gyda Naaman "ddeg par o ddillad." (2 Bren. v. 5.) Fe roddodd Joseph i Benjamin "bum' par o ddillad." (Gen. xlv. 22.) Sonia Job am bentyru arian fel llwch, a darparu dillad fel clai. (Job xxvii. 16.) Nis gellir tybied fod boneddwr fel hwn wedi myned i Jerusalem i addoli, o'r fath bellder, heb ddillad i newid ganddo. A chan fod teithwyr yn gofalu am babellau (*tents*), gallasai gyda'r rhwyddineb a'r gweddusrwydd mwyaf newid ei ddillad ar ol cael ei fedyddio o dan gysgod ei babell. Wrth i Dr. Robinson adrodd hanes ei daith ei hun o Suez i Seinai, dywed fod yn ofynol iddo cyn cychwyn brynu pabell a'i pharotoi, a cheisio y dyfrgostrelau, &c. (*Biblical Researches, vol.* i. p. 49.) Dywed Dr. Wilson, gyda golwg ar yr un daith,—"Prynodd Mr. Smith a minnau babell fechan i ni ein hunain, ac un i'n gweision." A

darlunia Mr. Stephen ei fynediad i mewn i'r diffaethwch fel hyn :—"Marchogais yn mlaen mewn tawelwch, ac wrthyf fy hun, am yn agos i ddwy awr; pan oedd yr haul yn myned i lawr o'r tu cefn i fynyddau tywyll Mokattam, arosais i ddysgwyl fy mintai fechan; gosodais fy mhabell i fyny am y noson gyntaf yn yr anialwch a'r drws yn agor ar wlad bell Gosen." (*Noel*, p. 92.) Yr oedd yma bob cyfleusdra, ynte, i gladdu blaenffrwyth Ethiopia gyda Christ yn y bedydd; yr oedd ganddo wisgoedd i'w nhewid, a chysgod pabell i'w orchuddio.

Tybia Dr. Robinson ei fod wedi canfod "y dwfr" yn yr hwn y bedyddiwyd yr Eunuch, mewn dyffryn ger llaw lle o'r enw Tell-el-Hasy, ar un o'r ffyrdd o Jerusalem i Gaza; tra y barna Dr. G. W. Samson, teithiwr Americanaidd arall a Bedyddiwr, mai mewn ffynnon, yn ymyl lle a elwid Bethsur neu Bethsoron, y bedyddiwyd ef. Ymddengys y cyfeirid at Bethsoron am gannoedd o flynyddau, fel y lle yn yr hwn y bedyddiwyd yr Eunuch, megys gan Eusebius (A.D. 300), y Pererin o Bordeaux (A.D. 333), Jerome (A.D. 400), a Brocardus (A.D. 1283). (Gwel *Robinson's Researches in Palestine, vol.* ii. p. 641; *B. W. Noel's Ext. Act of Baptism*, p. 89; *Baptismal Tracts for the Times*, pp. 152—161.) Pa le bynag y bedyddiwyd ef, y mae yn amlwg ei fod wedi cael ei fedyddio yn ol y commisiwn, a bod cyflawnder o ddwfr y ffordd yr elai i alluogi Phylip i'w gladdu gyda Mab Duw trwy fedydd.

Wedi i Saul o Tarsus gael ei argyhoeddi, yr oedd yn barod i gyflawni ewyllys Crist; "Beth a fyni di i mi ei wneuthur?" (Act. ix. 6.) Cyn hir y mae ei barch i'r Iesu yn tori allan mewn ufydd-dod; "efe a gyfododd, ac a fedyddiwyd." (adn. 18.) Yr oedd hyn yn mhen y tri diwrnod ar ol y braw a gafodd yn ei argyhoeddiad; yr oedd ei fynwes erbyn hyn yn dechreu tawelu, oblegyd y mae yn gweddio nes tynu sylw Duw. (adn. 11.) Dichon ei fod wedi cael ei fedyddio yn un o afonydd Damascus, fel yr awgryma Conybeare a Howson; neu mewn cronfa ddwfr neu ddyfrgist perthynol i'r tŷ yn yr hwn yr arosai, cyffelyb i'r rhai y cyfeiriwyd atynt yn nhudalen 61. Nid oes dim yn hanes bedyddiad Saul yn annghysson â'r syniad ei fod wedi cael ei fedyddio trwy drochiad. Gwel yn mhellach yn y gwaith hwn, o dan "*Y Gwrthddadleuon.*"

Nid yw geiriau Pedr yn nhŷ Cornelius,—"A all neb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn?" yn golygu "attal dwfr i gael ei ddwyn i mewn!" fel y dysga rhai; ond golygant yn hytrach,—"*A all rhyw un rwystro i'r rhai hyn gael eu bedyddio*, y rhai a dderbyniasant yr Ysbryd Glân fel ninnau?" "*A all rhyw un attal bedydd oddiwrth y rhai hyn*, y rhai, er eu bod yn Genedloedd dienwaededig, eto a dderbyniasant yr Ysbryd Glân fel ninnau, yr apostolion, ar ddydd y

Pentecost?" "Gan eu bod wedi cael y fath brawf ac arwydd amlwg eu bod wedi cael eu derbyn gyda Duw, pwy a feiddia wrthwynebu iddynt gael eu derbyn i'r eglwys trwy fedydd?" Yr oedd rhagfarn Iuddewig yn fud am y tro; "Ac efe a orchymynodd eu bedyddio hwynt yn enw yr Arglwydd Iesu." (Act. x. 47, 48.) Mae'n bossibl fod y gair "dwfr" yn y geiriau hyn yn cael ei ddefnyddio yn gyfystyr â bedydd, yn gyffelyb i'r gair yn 1 Ioan v. 6. 8.

"Gellid trochi Ceidwad y carchar yn Philippi, a Chornelius yn Cesarea, heb un anhawsder. Rhaid fod yn y carchar cyhoeddus ei gronbwll a'i ymdrochleoedd, y rhai a ddefnyddiai y ceidwad er ei fedydd ei hun; a chan fod 'dynion cyfoethog, yn gystal a'r rhai o urddas seneddol a marchogol, yn defnyddio ymdrochleoedd dirgel yn eu tai eu hunain,' ni wnelai Cornelius, cadben Rhufeinig, gyda chyflog a'i galluogai i 'wneyd llawer o elusenau i'r bobl,' a chyda theulu digon lliosog i anfon dau o'i weision fel cenadon at Pedr i Joppa, (Act. x. 2. 7.) fod, yn lledred 32° 30', yn amddifad o fwynhau ymdrochle* *(bath)* yn ei dŷ." (*Noel's Ext. Act of Baptism*, pp. 103, 104.) Dychwelwyd Lydia ar làn afon, (Act. xvi. 13—15.) a bedyddiwyd hi, y mae'n debygol, fel y noda Conybeare a Howson, yn yr afon hòno. Gan nad pa annghyfleusdra a ddychymmyga yr anufydd a allai fod ar ffordd ei bedydd, dywed yr Ysbryd Glân yn bendant ei bod wedi cael ei bedyddio, a dysgasid hi gan yr apostol fod yn rhaid i ddyn ymwadu âg ef ei hun, a thori trwy bob rhwystr er mwyn dilyn Crist.

Fod Ceidwad y carchar wedi cael ei fedyddio yn y nos, a ystyrir gan rai yn annghysson â'r meddylddrych o drochiad. Ond paham hyny? Yr oedd Paul a Silas yn y carchar oblegyd erlidigaeth; dichon eu bod yn bedyddio yn y nos i ochelyd ychwaneg o erlidigaeth. Bu ysgrifenydd y traethawd hwn, a'i frodyr yn y weinidogaeth, yn *bedyddio yn y nos, wrth oleu canwyll*, a phaham nad allasai

---

* "That such baths and cisterns were used by the apostles, for immersion, seems to be indicated by the Bourdeaux Pilgrim, who visiting Cesarea, where Peter baptized Cornelius, about three hundred years after that event, records, 'There is the bath of Cornelius the centurion, who did much alms.' The frequency with which such reservoirs are met, not only in Palestine, but in Southern Italy and the whole Levant, removes from the mind of the inquiring traveller all difficulty as to facilities for immersion at Jerusalem, Philippi, Corinth, Rome, and eleswhere, in the Apostles' day; as from the mind of the late Dr. Judson, the same difficulty was removed by observing the baths in the jail-yards of Burmah and India."—*Baptismal Tracts for the Times*, p. 119.

Paul wneyd? Gorfodwyd Bedyddwyr Germani i fedyddio yn y nos* lawer gwaith, rhag ofn eu gelynion. (Gwel Dr. Wayland's *Principles of the Baptists*, Bunyan Library, *vol.* i. p. 196.)

Mae ymdrochleoedd mewn cyssylltiad â charchardai yn y Dwyrain, ac mae yn sicr fod rhai yn nglyn â charchar Philippi hefyd. Tybia Conybeare a Howson i geidwad y carchar gael ei fedyddio mewn ffynnon o ddwfr o fewn terfynau y carchar ei hun. Awgryma Meyer mai dwfr ydoedd o fewn cyntedd tŷ y ceidwad, i'r lle y dygasai efe Paul a Silas yn flaenorol er eu golchi oddiwrth y gwaed a ffrydiasai allan o'u briwiau. (adn. 33.) Pa le bynag ydoedd, yr oedd yn gyfleus i fedyddio y ceidwad trwy dansuddiad cyflawn ("*complete immersion*") ebe Meyer, gan fod hyny yn hanfodol i arwyddocâd bedydd. (Rhuf. vi.)

---

* Yn niwedd y flwyddyn 1864, ymwelodd y Parch. J. G. Oncken, Hamburg, â St. Petersburg, prif ddinas Rwssia, i eiriol gyda'r Ymerawdwr dros Fedyddwyr gorthrymedig Poland a Rwssia; a phan yno, cafodd y pleser o fedyddio saith i Grist, a hyny *yn y nos*, fel y dengys y dyfyniad canlynol o lythyr oddi wrtho:—

"Saturday, December 3rd.—On our arrival at St. Petersburg, we found here four immersed believers, two from the church at Memel, one from the church at Stettin, and one from Courland. Besides these, eight persons have expressed their desire to be immersed on a profession of their faith in Christ. During our five weeks' stay we had ample time and opportunity to become acquainted with them. Seven of the candidates fully satisfied us that the Saviour had begun a good work in them, and that they founded their hope for pardon and eternal life solely on the blood and righteousness of Christ. *These I buried with Christ in baptism, at the dead hour of the night, between twelve and one o'clock,* and thus the first administration of the Lord's ordinance was accomplished in the imperial capital of Russia, by which the two great facts of our redemption are so beautifully set forth—our death in and with our Substitute, and our life in and with Him." (*Quarterly Reporter of the German Baptist Mission. January*, 1865.)

# PENNOD V.

## BAPTIZO YN YR EPISTOLAU.

*Rhuf.* vi. 4.—*Tystiolaeth Taenellwyr—Sylwadau Proffeswyr Ripley a Chase—Bedydd y Môr Coch—Nodiadau B. W. Noel—Bedyddio dros y meirw—Dull Bedydd yn ffafriol i ymresymiad yr Apostol—Bedydd yn wrthlun o'r Diluw—Y cyfeiriadau at Fedydd yn Eph.* v. 26.; *Tit.* iii. 5.; *a Heb.* x. 22., *yn profi mai Trochiad yw y dull Ysgrythyrol i weinyddu yr Ordinhad—Geiriau ereill yn cael eu defnyddio am Daenellu, Tywallt, &c.—Cystrawiad y geiriau yn y Groeg.*

Gan fod yr Epistolau yn lythyrau cyfeiriedig gan yr apostolion at eglwysi Crist, gwneir cyfeiriadau mynych ynddynt at fedydd yr aelodau, ac adgofir hwynt am rwymedigaethau eu proffes. Dygir ar gof iddynt eu bod wedi eu bedyddio i Grist Iesu, a'u bod wedi proffesu ymwrthod â phechod, ac addaw byw o hyny allan i Dduw. (Rhuf. vi.) Gwneir defnydd o'r broffes yma i'w cymhell i roddi eu serch ar bethau y nef, a cheisio pethau sydd uchod. (Cymharer Col. ii. 12. â iii. 1, 2.)

"Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd." (Rhuf. vi. 4.)

"Wedi eich cydgladdu âg ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cydgyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw, yr hwn a'i cyfododd ef o feirw." (Col. ii. 12.)

Hyd yn ddiweddar, ystyrid y geiriau, "Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth," (Rhuf. vi. 4. a Col. ii. 12.) yn golygu yr hen ddull o fedyddio trwy drochiad, fel na pheryglai neb ei enwogrwydd trwy awgrymu yn wahanol; ond oblegyd awydd i ddiddymu y prawf a dynir oddiwrth y geiriau dros fedydd trwy drochiad, dywedir weithiau yn awr nad oes yn y geiriau gyfeiriad o gwbl at y dull! Os oes *dull* i fedydd, rhaid fod ynddynt gyfeiriad at y dull, yn gystal ag at broffes y saint. Fod yma gyfeiriad at fedydd trwy drochiad, sydd yn ymddangos yn naturiol i'r darllenydd diduedd.

Dodwn ger bron y darllenydd dystiolaeth llu o Dduwinyddion ac Esbonwyr dysgedig o Daenellwyr, y rhai a ddeallent eiriau ac ymresymiad yr apostol yr un modd ag y deallir hwynt gan y Bedyddwyr:—

*Richard Baxter*, awdwr "Gorphwysfa'r Saint," yr hwn a fu farw yn 1691, ar Rhuf. vi. 4. a ddywed:—"Gan hyny, yn ein bedydd nyni a drochwyd o dan y dwfr, fel yn arwyddo ein cyfammod yn y broffes, megys ag y claddwyd ef dros bechod, yr ydym ninnau yn farw ac wedi ein claddu i bechod; megys ag y darfu i allu gogoneddus Duw ei gyfodi ef oddiwrth y meirw, felly y dylem ninnau godi i fyw iddo ef mewn newydd-deb a santeiddrwydd bywyd." *(A Paraphrase on the New Testament, with Notes, &c. By Richard Baxter.)*

*Hugo Grotius, Holland*, Beirniad ac Esboniwr enwocaf ei oes, a'r hwn a fu farw yn 1645, a ysgrifena:—"Y gweinyddid bedydd trwy drochiad ac nid trwy dywalltiad, a ymddengys oddiwrth ystyr briodol y gair, a'r lleoedd a ddewisid i weinyddu yr ordinhad; (Ioan iii. 23. Act. viii. 38.) a hefyd oddiwrth yr amryw gyfeiriadau ato gan yr apostolion, y rhai na allant gyfeirio at daenelliad, Rhuf. vi. 3, 4. Col. ii. 12." (*Synops. on Mat.* iii. 6.)

*Archesgob Tillotson.*—"Gynt, byddai y rhai a fedyddid, yn diosg eu gwisgoedd, yr hyn a arwyddai ddiosg corph pechod; a throchid a chleddid hwy yn y dwfr i osod allan eu marwolaeth i bechod; ac yna cyfodid hwy i fyny o'r dwfr, i osod allan eu cychwyniad ar fywyd newydd. At yr arferion hyn y cyfeiria'r apostol, Rhuf. vi. 2—6. Gal. iii. 27." *(Works, Serm.* vii. i. 3.)

*Cymmanfa Duwinyddion Westminster.*—"*Claddwyd ni gydag ef trwy fedydd:* gwel Col. ii. 12. Ymddengys fod yr apostol yn y frawddeg hon yn cyfeirio at yr hen ddull o fedyddio, yr hyn oedd trwy drochi y rhai bedyddiedig, ac fel pe byddai eu claddu o dan y dwfr am ychydig, ac yna eu tynu allan o hono, a'u codi i fyny i arddangos claddedigaeth ein hen ddyn, a'n hadgyfodiad i fuchedd newydd." (*Annotations on Rom.* vi. 4.)

*Dr. Whitby, Eglwyswr.*—"*Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd*, drwy gael ein trochi o dan y dwfr i gydymffurfiad â'i farwolaeth ef, yr hon a ddygodd ei gorph ef o dan y ddaear; *fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly ninnau hefyd*, gan fod yn farw fel hyn yn ein bedydd, a *ddylem* godi gydag ef, a *rhodio mewn newydd-deb buchedd.* Gan y dywedir mor bendant yma, (Rhuf. vi. 4.) ac yn Col. ii. 12. ein bod yn cael ein claddu gyda Christ mewn bedydd, drwy gael ein soddi o dan y dwfr, a bod yr *argument* i'n rhwymo i gydymffurfiad â'i farwolaeth ef, drwy farw i bechod, yn cael ei chymmeryd oddiwrth hyn; a chan fod y trochiad hwn wedi cael ei gadw mewn modd crefyddol gan yr holl Gristionogion *am dair canrif ar ddeg*, ac yn cael ei gymmeradwyo gan ein Heglwys ni (Eglwys Loegr), a chan fod ei newid i *daenellu*, hyd y nod heb un caniatâd oddiwrth Awdwr y sefydliad hwn, neu ganiatâd oddiwrth unrhyw gynghor eglwysig, yn beth ag y mae y Pabydd eto yn ei gynnyg i gyfiawnhau ei wrthodiad o'r cwpan i'r cyffredin; byddai yn ddymunol pe deuai y ddefod eto i arferiad cyffredin, a thaenelliad ond cael ei oddef yn unig, megys cynt, yn amgylchiad y rhai claforweddog, neu rai mewn perygl o farw ar y pryd." *(Dr. Whitby on Romans* vi. 4.)

*John Locke, yr Athronydd.*—"Yr wyf yn gobeithio nad ydych yn anwybodus o hyn, ein bod ni Gristionogion, y rhai trwy fedydd a dderbyniwyd i deyrnas ac eglwys Crist, wedi ein bedyddio i fath o gyffelybrwydd i'w farwolaeth ef. Darfu i ni gydnabod rhyw fath o farwolaeth trwy gael ein claddu o dan ddwfr; yn hyn, trwy ein bod yn cael ein claddu gydag ef, hyny yw, mewn cydffurfiad â'i gladdedigaeth ef, fel cydnabyddiaeth ein bod wedi marw, oedd i arwyddo, fel megys ag y cyfodwyd Crist oddiwrth y meirw i fywyd gogoneddus gyda'r Tad, felly ninnau hefyd—trwy ein bod wedi cael ein cyfodi allan o'n marwolaeth a'n claddedigaeth arwyddluniol mewn bedydd, a ddylem arwain bywyd newydd hollol wahanol i'n bywyd blaenorol," &c. (Rhuf. vi. 3, 4. *A Paraphrase and Notes on the Epistles of St. Paul. By John Locke.* 1733.)

*Matthew Poole, Annghydffurfiwr Seisnig, yr hwn a fu farw yn* 1679. —"Ymddengys ei fod yn cyfeirio yma at y dull o fedyddio yn y gwledydd Dwyreiniol cynhes hyny, yr hyn ydoedd trwy drochi neu suddo y person a fedyddid; ac fel pe byddai ei gladdu am ychydig o dan ddwfr. Gwel y frawddeg gyffelyb, Col. ii. 12." (*Annotations on Rom.* vi. 4.)

*Dr. Doddridge, Annibynwr.*—"*Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd.* Ymddengys mai gonestrwydd yw cydnabod fod cyfeiriad yma at y dull o fedyddio *trwy drochiad,* fel yr oedd yn fwyaf arferol yn yr amseroedd boreuol hyn; ond nid ydyw hyny yn profi fod yr amgylchiad neillduol hwn yn *anhebgorol i'r ordinhad.*" (*Family Expositor, Rom.* vi. 4.)

*John Wesley, M.A.*—"*Claddwyd ni gan hyny gydag ef.*—Cyfeiriad at yr hen ddull o fedyddio trwy drochiad." (*Explanatory Notes on the New Testament, Rom.* vi. 4.)

*Dr. Chalmers, Presbyteriad.*—"Ystyr wreiddiol y gair bedydd yw trochiad; ac er ein bod yn edrych arno fel peth dibwys pa un a weinyddir yr ordinhad fel hyn ai trwy daenelliad; er hyny, mae'n ddiau genym mai dull arferol y gweinyddiad yn nyddiau yr apostolion oedd trwy dansuddiad yr holl gorph o dan y dwfr. Yr ydym yn cyfeirio at hyn er mwyn taflu goleuni ar y gyffelybiaeth yn yr adnodau hyn." (*Lectures on Romans, chap.* vi. 4.)

*Dr. Tholuck, Lutheriad.*—"Er cael eglurhad ar y desgrifiad ffugyrol hwn (Rhuf. vi. 4.) o fedydd, mae'n anghenrheidiol galw sylw at yr amgylchiad eithaf adnabyddus, sef, y byddai personau, yn nyddiau boreuol yr eglwys, pan fedyddid hwy, yn cael eu suddo yn gyntaf o dan y dwfr, ac yn cael eu codi uwchlaw iddo; i ba arferiad, yn ol cyfarwyddyd yr apostol, yr oedd y Cristionogion boreuol yn rhoddi ystyr arwyddluniol." (*Commentary on Romans, chap.* vi. 4.)

*Dr. G. C. Knapp, Lutheriad.*—"Y mae trochiad yn cytuno yn nodedig â sefydliad Crist, ac arferiad yr eglwys apostolaidd, ac felly y bedyddiai hyd y nod Ioan, a pharhaodd trochiad yn gyffredin am

amser maith ar ol hyny; oddi eithr yn y drydedd ganrif, neu feallai yn gynt, y bedyddid y cleifion trwy dywalltiad................Yn raddol, daeth y dull yma o fedyddio yn fwy arferol, mae'n debyg, am y canfyddid ef yn fwy cyfleus; fel hyn y bu yn benaf ar ol y seithfed ganrif, ac yn yr eglwys Orllewinol, (y Babaidd,) ond ni ddaeth yn gyffredin hyd ddechreu y bedwaredd ganrif ar ddeg." (*Christian Theology*, p. 486.)

*Conybeare a Howson, Eglwyswyr.*—"Nid ydyw yn anghenrheidiol ychwanegu, fod bedydd (oddi eithr mewn amgylchiadau eithriadol) yn cael ei weinyddu trwy drochiad; trochid yr ymgeisydd o dan wyneb y dwfr i osod allan ei farwolaeth i fywyd pechadurus, ac yna codid ef o'r claddiad byr-amserol hwn i osod allan ei adgyfodiad i fywyd o gyfiawnder. Mae'n destyn o alar, fod rhoddiad ymaith cyffredinol y dull gwreiddiol hwn o fedyddio (er feallai yn anghenrheidiol yn ein hinsoddau Gogleddol,) yn gwneyd rhai rhanau pwysig o'r Ysgrythyr yn dywyll i amgyffredion y cyffredin."

"Nis gellir deall yr adnod hon (Rhuf. vi. 4.) oddi eithr i ni gadw mewn cof mai y dull cyntefig o fedyddio ydoedd trwy dansuddiad." (*The Life and Epistles of St. Paul, vol.* i. p. 518; *vol.* ii. p. 209. *London*, 1872.)

*Dr. Bloomfield.*—"Mae y gair *sunetaphêmen* (cydgladdwyd ni) yn cyfeirio at fedydd, yn ol y dull hwnw yn mha un y gweinyddid ef ar y cyntaf, hyny yw, trwy *dansuddiad:*—dull a fwriedid yn neillduol i ddelweddu ar unwaith farwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Crist (gan fod y corph fel hyn yn cael ei *guddio* yn y dwfr megys mewn *beddrod),* ac felly yn gwasanaethu i *arwyddo* y farwolaeth i bechod o du y bedyddiedig, y distrywiad ynddynt o allu pechod, a'u cyfodiad o farwolaeth pechod i fywyd o gyfiawnder." (*Greek Testament, vol.* iii. *Additional Annotations on Rom.* vi. 4.)

*Albert Barnes.*—"Y mae yn hollol debygol fod yr apostol yn y lle hwn yn cyfeirio at y dull o fedyddio trwy drochiad." (*Notes on the New Testament, Rom.* vi. 4.)

*William Trollope, M.A.*—"Mae bod yn farw i unrhyw beth, yn cynnwys ymwrthod âg ef; peidio ymwneyd âg ef mwyach. Mae yr apostol yn troi oddiwrth yr ystyriaeth o'r rhagorfreintiau a gyfrenir yn y bedydd, at yr anghenrheidrwydd o santeiddrwydd personol er gwneyd iachawdwriaeth yn sicr; a dadblyga natur arwyddocâol yr ordinhad yna, yn yr hon y mae tansuddiad y corph mewn efelychiad o farwolaeth a chladdedigaeth Crist *dros bechod*, yn cynnwys ymrwymiad i *farw oddiwrth bechod;* ac mae'r cyfodiad o'r dwfr mewn efelychiad o'i adgyfodiad ef, yn arwyddluniol o fywyd newydd o rinwedd a santeiddrwydd." (*Greek Testament, Rom.* vi. 2.)

Gellid dyfynu yn mhellach o MacKnight, Alford, Wordsworth, Meyer, a llawer ereill, y rhai a lefarant i'r un perwyl. Mae yr addefiadau uchod o eiddo taenellwyr dysgedig, yn adlewyrchiad anrhydeddus ar eu gonestrwydd fel esbonwyr a beirniaid, ac yn

deyrnged i uchafiaeth gwirionedd, ac yn awgrymu, gyda llaw, nad oes modd esbonio y Testament Newydd yn eglur a dealladwy, yn gysson a ffyddlon, ond oddiar safle y Bedyddwyr.

Yr ydym wedi dwyn yn mlaen y dyfyniadau lliosog blaenorol, mewn rhan, er mwyn i'r darllenydd weled y modd y deallai y rhan fwyaf o ddysgedigion y taenellwyr Rhuf. vi. 1—6; ond yn benaf, o herwydd yr ymosodiad egniol a wnaeth Proffeswr Moses Stuart ar y golygiad cyffredin ar y geiriau. Dodwn yn awr o flaen y darllenydd esboniad dau Fedyddiwr enwog ar ymresymiad yr apostol:—

Dr. Ripley, yn ei Adolygiad ar Draethawd Moses Stuart ar Ddull Bedydd, a ddywed fel y canlyn:—

"Amcan yr apostol yn yr adnodau hyn oedd cyfarfod â gwrthddadl a ellid ei chodi yn erbyn yr hyn a ddywedwyd yn y bennod flaenorol. Yn y bennod hòno, yr oedd wedi dangos yn helaeth fod gras Duw wedi tra rhagori mewn mawredd ar bechodau dynion; ac fod amlhad pechod wedi rhoddi achlysur i fwy o helaethrwydd Dwyfol ras. Os hyn yw y ffaith, gallai rhyw un ddweyd, Onid allwn ni barhau i fyned yn mlaen mewn pechod, fel y gellir dangos gras Duw mewn modd helaethach eto? Y mae atebiad yr apostol yn dra syml. Y mae yn gynnwysedig mewn dwy ran:—1. Y mae cymmeriad mewnol Cristionogion yn gwahardd y fath wrthddadl; *y maent hwy yn farw i ddylanwad pechod.* 2. Y mae eu proffes allanol o Gristionogaeth yn ei gwrthwynebu; *y maent, drwy eu bedydd, fel rhai meirw i bechod, mewn modd arwyddluniol wedi cael eu claddu a'u codi i fyny drachefn,* fel hyn wedi cydnabod mai megys ag y claddwyd Crist ac y cododd drachefn i fywyd nefol, felly hwythau, ei ganlynwyr, gan eu bod trwy fedydd wedi cael eu claddu a'u codi drachefn, oeddynt dan rwymau i arwain bywyd newydd ysbrydol.

"Dadleuir nad yw y claddu, crybwylledig gan yr apostol, yn un allanol, ond mewnol, claddiad ysbrydol; ac fod y frawddeg hon, CLADDWYD *ni*, yn cael ei defnyddio yn unig er gosod allan yn fwy grymus y meddylddrych o fod wedi marw. Ymddengys fod y golygiad hwn yn cael ei wrthwynebu yn effeithiol gan y ffaith, fod y claddu yn cael ei gyflawni *trwy fedydd*, ordinhad allanol. Y mae yr arddodiad a ddefnyddir yma yn yr iaith wreiddiol yn ein harwain i'r golygiad hwn. TRWY *fedydd* (*dia tou baptismatos*) y cleddir ni, nid AR ADEG ein bedydd. Nid fod bedydd ond yn rhoddi cyfleusdra priodol i ddangos ein bod ni yn hollol ddiduedd at bechod, fel ag, pan y proffesasom Gristionogaeth, y gellid dweyd ein bod ni wedi ein claddu gyda golwg ar bechod—yw y syniad; ond gosodir bedydd allan yma fel *y peth ei hun, yr offeryn pendant*, neu, yn fwy priodol, *y weithred bennodol*, DRWY yr hon, neu DRWY GYFRWNG PA UN y claddwyd ni. Ymddengys fod yr apostol yn son am ddau beth, marwolaeth a chladdedigaeth, y rhai mae yn amlwg a wahaniaethir; ac y mae y claddiad yn weithred allanol, yn gynnwysedig yn y ffaith ein bod ni wedi cael ein bedyddio i gydnabyddiaeth o farwolaeth Crist. Byddai parhau mewn pechod, gan hyny, yn annghysson â'n cymmer-

iad ac â'n proffes Gristionogol. Ymddengys nad ydyw yn arddangosiad cyflawn o iaith yr apostol i ddweyd, gan ein bod wedi marw i bechod, ein bod wedi gorphen y gwaith yma o farwolaeth foesol trwy broffesu Cristionogaeth, ac addaw yn ein bedydd i ymwrthod â phechod; fel ag drwy orphen y gwaith o farw y gallwn ystyried ein hunain fel rhai wedi ein claddu. Ymddengys ei fod ef yn dweyd ein bod, heblaw dyfod yn feirw i bechod, wedi cael ein claddu hefyd trwy fedydd i gydnabyddiaeth o farwolaeth Crist.

"Y mae y golygiad tra eglur hwn yn cael ei ddibrisio yn ormodol. Pe buasai yr apostol ond yn unig wedi dweyd, Yr ydym yn feirw i bechod, ac wedi ein claddu gyda golwg arno, neu, Yr ydym yn feirw ac yn gladdedig gyda golwg ar bechod, buasai ei iaith yn gofyn dehongliad gwahanol. Ond y mae yr apostol ei hun yn egluro beth a olyga wrth *gladdu*, pan yr ychwanega, *trwy fedydd,—dia tou baptismatos*."

I'r un pwrpas y dywed Proffeswr Chase, mewn pregeth ar "Ddyben Bedydd."

"*Claddwyd ni gydag ef trwy fedydd.*—Y mae yr iaith yn ffugyrol. Golyga y gair *sunetaphêmen*, *claddwyd ni*, neu *gorchuddiwgd ni i fyny mewn bedd*, neu *dodwyd ni mewn beddrod gyda* Christ. Pa fodd? *Trwy fedydd*, ychwanega yr apostol; ac y mae yr ychwanegiad yma yn rheoleiddio y ffugyr, ac yn gwneyd y synwyr mor eglur ag y mae yn bossibl i eiriau pendant ei wneyd. *Yn*, neu *drwy fedydd*, gan hyny, y cafodd Paul a'r Cristionogion a annerchai eu *claddu.* Bod yn groeshoeliedig i'r byd, neu yn farw i bechod ydyw *cymmeriad* y Cristion; ond bod yn gladdedig gyda Christ trwy fedydd ydyw y *broffes* arwyddluniol osodedig o'r cymmeriad yna. Nid ydyw yr apostol yn dysgu fod credinwyr wedi eu *croeshoelio* gyda Christ, neu wedi *marw* gyda Christ, neu yn meddu tymher *ddarostyngedig, trwy fedydd.* Un peth yw bod yn meddu y fath gyflwr eneidiol, bod yn farw i bechod; peth arall hollol wahanol yw bod yn gladdedig gyda Christ *trwy fedydd;* peth allanol yw hwn, tra mae y llall yn dufewnol. Nis gall fod unrhyw gamgymmeriad yn nghylch y geiriau hyn ond yn unig trwy gymmysgu y pethau y mae yr apostol yn eu cadw ar wahan." (CHRISTIAN BAPTISM: *an Examination of Professor Stuart's Essay on "The Mode of Baptism." By H. J. Ripley, D.D. Boston, U.S.*, 1833. Pp. 86—88.)

Y mae o bwys cadw mewn cof fod y claddu yma yn cymmeryd lle *trwy fedydd*, ac felly o anghenrheidrwydd yn cyfeirio at y weithred allanol; dyna y meddwl a darawa y darllenydd diduedd yn naturiol, ac addefa y mwyafrif o esbonwyr taenellyddol fod yn y geiriau gyfeiriad pendant at fedydd trwy drochiad.*

---

* Dywedir nad oedd claddedigaeth Crist yn debyg i gladdu trwy fedydd, gan Dr. Halley, ac ereill, am mai mewn craig y claddwyd ef, ar enau yr hon y

Mae gwaith yr Israeliaid yn croesi y Môr Coch mewn modd arwyddluniol yn cael ei alw yn fedydd.

"A'u bedyddio hwy oll i Moses yn y cwmmwl ac yn y môr. (1 Cor. x. 2.)

Defnyddia yr apostol yr iaith yma i arddangos yr Israeliaid yn dodi eu hunain o dan arweiniad a dysgeidiaeth Moses, fel y mae credinwyr, pan yn cael eu bedyddio, yn proffesu eu hunain yn ddysgyblion Crist. Cyfeiria at gyfnod pwysig yn eu hanes, pan yr oeddynt mewn modd neillduol yn ymostwng i Moses fel gwas Duw. Yr oedd tebygolrwydd yn ngwaith yr Israeliaid yn rhoddi eu hunain i fyny i arweiniad Moses, i waith credinwyr yn ymostwng i Grist fel eu Harweinydd a'u Gwaredwr. Fel y mae Cristionogion wrth broffesu eu hymlyniad wrth Grist yn cael eu hamgylchu â dwfr y bedydd, felly yr Israeliaid, pan y dangosasant mewn modd neillduol eu hymlyniad wrth Moses, trwy groesi y Môr Coch, yr oeddynt hwythau yn cael eu hamgylchu gan ddwfr. Bedyddiwyd hwy, gan hyny, i Moses, yn y cwmmwl, ac yn y môr.

Mae y nodiadau canlynol gan yr Anrhydeddus B. W. Noel yn hynod i'r pwrpas:—

"Y mae ymresymiad yr apostol fel y canlyn:—Megys ag y bed-

---

rhoddwyd maen, er ceisio osgoi y prawf dros fedydd trwy drochiad, oddiwrth Rhuf. vi. 4. Ond nid oes grym yn y fath wrthddadl. *Fe ddodwyd corph Crist yn y ddaear, ac yr oedd o'r golwg o dan ei harwynebedd.* Claddwyd Sarah mewn ogof, ond yr oedd er hyny wedi ei dodi o olwg Abraham, o dan arwynebedd y ddaear. (Gen. xxiii. 4. 19. 2 Bren. xiii. 21.) *Suddir dyn yn ei fedydd i'r dwfr, ac y mae am ysbaid yn gladdedig o dan ei arwynebedd; yna cyfodir ef i fyny megys ag y cyfodwyd Crist.* Nid oes un anhawsdra yma; y mae y gyffelybiaeth yn hollol amlwg. Gellir dweyd am yr wrthddadl newydd hon,—

*Na ddaeth erioed i feddwl Dwyreinwyr!* Esbonia *Cyril, Esgob Jerusalem,* yn y flwyddyn 350, O.C., Rhuf. vi. 4. yr un modd a'r Bedyddwyr, "Oblegyd Iesu," eb efe, "gan gymmeryd arno bechodau y byd, a fu farw, fel wedi lladd pechod, y gallai dy godi di i fyny mewn cyfiawnder: felly hefyd tithau, gan fyned i lawr i'r dwfr, ac mewn dull gael dy gladdu yn y dyfroedd, *megys efe yn y graig* a godir i fyny drachefn, gan rodio mewn newydd-deb buchedd." (*Instruction* iii. *on Baptism*, p. 12.

*Basil Fawr* hefyd, Esgob Cæsarea yn y flwyddyn 370, O.C., (*On the Holy Ghost, chap.* 15. 35.) a ddywed:—"Gan *efelychu claddedigaeth Crist* trwy y trochiad, (*baptismatos); oblegyd y mae cyrph y rhai a fedyddir, fel pe byddent yn cael eu claddu yn y dwfr."

Os oedd claddedigaeth Crist mor annhebyg i fedydd trwy drochiad ag y myn rhai o ddysgedigion yr oes hon, peth rhyfedd na fuasai esgobion ag oeddynt yn byw yn Mhalestina, ac yn hollol hysbys o arferion yr Iuddewon wrth gladdu, yn canfod yr annghyssondeb; ond yn lle hyny, maent hwy yn cyffelybu *claddedigaeth Crist yn y graig*, i gladdedigaeth y Cristion yn nwfr y bedydd!

yddiwyd yr Israeliaid i Moses, felly y bedyddiwyd y Corinthiaid i Grist; ac fel y cwympodd llawer o'r Israeliaid bedyddiedig yn y diffaethwch trwy eu gwrthryfel, felly y gallai y Corinthiaid bedyddiedig syrthio hefyd: am hyny, cymhella hwy i wylio. Yn yr adnod hon, gan hyny, y mae cymhariaeth rhwng bedydd yr Israeliaid a bedydd credinwyr proffesedig. Disgynasai yr Israeliaid i'r Môr Coch; yr oeddynt yno '*o dan* y cwmmwl,' ac yn 'myned trwy y môr;' ac felly darfu i'r cwmmwl a'r môr yn nghyd, eu claddu hwy, hyd nes yr oeddynt yn fuddygoliaethus yr ochr arall i'r môr. Gallent, neu gallent beidio gael eu gwlychu gan y cwmmwl a'r môr; yr hyn oedd yn anghenrheidiol i'r bedydd ydoedd, bod yn orchuddiedig ganddynt. Megys ag y sonia Dryden am berson 'yn drochedig yn y goedwig,' felly sonia Paul am yr Israeliaid yn drochedig yn y cwmmwl ac yn y môr, oblegyd fod y cwmmwl a'r môr wedi eu cuddio. Pan oedd y cwmmwl yn disgyn y tu ol i'r fintai hir o Israeliaid, gan orchuddio yr Aiphtiaid mewn tywyllwch, ymdaenodd dros eu penau hwy gyda yr agorfa ddofn yn y môr, gan daflu ei oleuni o flaen y bobl wrth iddynt deithio. (Ecsod. xx. 19, 20.) Yn awr, yn debyg fel ag y disgynasent hwy i'r môr, ac y claddesid hwy gan y môr a'r cwmmwl, ac ar ol hyny yr ymddadsuddasent, felly y disgynodd y Corinthiaid i ddyfroedd y bedydd, y claddwyd hwynt ynddynt, ac yr ymddadsuddasant drachefn. Dengys y gymhariaeth gydag eglurder digonol, fod y bedydd cyntefig a'r diweddar, y bedydd gwladwriaethol a bedydd y dychweledigion Cristionogol, yn drochiad." (*Noel's External Act of Baptism*, pp. 39, 40.)

Dysgir gan rai, mae'n wir, er mwyn osgoi yr ymresymiad uchod, fod y Salmydd yn cyfeirio at fedydd y Môr Coch pan yn dweyd, "*Y cymmylau a dywalltasant ddwfr*," (Salm lxxvii. 17.) ac felly, mai tywalltiad oedd bedydd y Môr Coch. I ddangos ynfydrwydd y fath dyb, ac i egluro meddwl y Salmydd, nis gallwn wneyd yn well na rhoddi yma esboniad rhagorol y taenellwr enwog hwnw, y Parch. Matthew Henry, ar y lle:—

"1. Dygodd Duw Israel o'r Aipht. Gwaredaist â'th fraich dy bobl, &c. (adn. 15.)

2. Agorodd y Môr Coch o'u blaen. (adn. 16.)

3. Dinystriodd yr Aiphtiaid. (adn. 17.) *Y cymmylau a dywalltasant ddwfr* arnynt HWY, tra yr oedd y golofn dân fel gwlawlen uwch ben Israel, yn eu cysgodi rhag y gawod, yn yr hon, megys yn y diluw, darfu i'r dyfroedd ag oedd uwch ben y ffurfafen uno â'r rhai oedd o dan y ffurfafen i ddistrywio y gwrthryfelwyr. Yna'r *wybrenau a roddasant dwrf; dy saethau hefyd a gerddasant*, yr hyn a eglurir yn y ddeunawfed adnod. *Twrf dy daran a glywyd oddi amgylch* (dyna y twrf a roddodd yr wybrenau): *mellt a oleuasant y byd*—y rhai hyn oedd y saethau a gerddasant, drwy ba rai y dymchwelwyd llu yr Aiphtiaid, gyda'r fath ddychryn, fel y darfu i'r *ddaear* yn y wlad gerllaw *gyffroi a chrynu*. Fel hyn yr oedd ffordd Duw yn y môr i ddinystrio ei elynion yn gystal ag i achub ei bobl; a phan ddychwelodd y dyfroedd i'w lle, *nid adweinid ei ol;* (adn. 19.)

ni roddwyd arwydd ar y lle, fel y gwnaed ar ol hyny, yn yr Iorddonen." (Jos. iv. 9.)

"Os amgen, beth a wna y rhai a fedyddir dros y meirw, os y meirw ni chyfodir ddim? Paham ynte y bedyddir hwy dros y meirw?" (1 Cor. xv. 29.)

*(Cyfieithiad Newydd):* "Oblegyd, (os amgen), beth a wnant hwy y rhai sydd yn cael eu bedyddio gyda chyfeiriad at y meirw? Os y meirw ni chyfodir o gwbl, paham yn wir y bedyddir hwy gyda chyfeiriad at y meirw?"

Mae yr apostol yn y geiriau hyn yn cyfeirio at fedydd, i'r dyben i brofi yr adgyfodiad o feirw. Mae ei ddull yn llefaru yn dangos yn amlwg fod y *Corinthiaid* yn deall ei feddwl. Mae rhywbeth mewn bedydd, gan hyny, ag sydd yn arwyddlun o adgyfodiad y meirw, neu beth a ennilla ymresymiad yr apostol wrth gyfeirio ato fel prawf o'r adgyfodiad? Yn ei fedydd, y mae dysgybl Crist yn proffesu ei fod yn derbyn Crist, yr hwn a addawodd fywyd tragywyddol iddo, a chyfodi ei gorph yn y dydd diweddaf. (Ioan vi. 54.) Trwy ymostwng i fedydd, y mae yn rhagarwyddo claddedigaeth ac adgyfodiad y corph; y mae y *suddiad* i'r dwfr, yn gyffelyb i'r *claddiad* yn y bedd; a'r *ymddadsuddiad* o'r dwfr yn debyg i'r *adgyfodiad* o'r bedd. *Y mae yn ffaith fod yr hen Gristionogion yn edrych ar fedydd fel yn dysgu hyn, yn gystal ag yn gosod allan gladdedigaeth ac adgyfodiad Crist.* Profai Chrysostom yr adgyfodiad oddiwrth y dull apostolaidd o fedyddio,—"Y mae ein bedyddiad neu ein suddiad yn y dwfr, a'n cyfodiad drachefn o hono, yn arwydd o'n disgyniad i'r bedd, a'n dychweliad oddi yno." Mae yr ordinhad o fedydd bob amser, yn ol y Groegiaid, o ddyddiau yr apostolion hyd heddyw, yn cynnwys *katadusis*, mynediad i lawr, ac *anadusis*, cyfodiad i fyny,—un yn arddangos marwolaeth, a'r llall adgyfodiad. "Arwydda bedydd," ebe Theophylact, "megys drwy *drochiad* farwolaeth, felly drwy *ymddadsuddiad* adgyfodiad."

Gan fod y weithred o fedyddio yn cynnwys claddiad ac adgyfodiad, edrycha yr apostol arni yn cyfeirio yn mlaen i'r dyfodol, ac yn delweddu adgyfodiad y saint yn y dydd diweddaf, yn ogystal ag yn ol at adgyfodiad yr Arglwydd Iesu Grist foreu y trydydd dydd; fel y mae pob un ag sydd yn cael ei fedyddio yn ol y cynllun apostolaidd, yn cael ei fedyddio *gyda chyfeiriad at* (Groeg ὑπὲρ=HUPER, *with reference to, concerning*, Rhuf. i. 8. 2 Cor. i. 6—8. xii. 8. Phil. i. 7., &c.) y meirw. Mae gweinyddiad yr ordinhad yn pregethu yr adgyfodiad. Gellir aralleirio geiriau yr apostol fel y canlyn:—A ellir meddwl am eiliad y buasai Crist yn sefydlu ordinhad ag sydd yn delweddu yr adgyfodiad o feirw, pe na buasai adgyfodiad y meirw i

gymmeryd lle? A feiddia neb awgrymu y buasai efe yn cellwair â ni fel hyn, trwy sefydlu ordinhad ag sydd yn rhag-gysgodi yr adgyfodiad o feirw bob tro y gweinyddir hi, os nad oedd efe yn bwriadu adgyfodi y meirw o gwbl? Na ato Duw!

"Mae bedydd," ebe Dr. Pendleton, "yn meddu cyfeiriad rhagflaenol (*anticipatory reference*) at adgyfodiad y saint. Medda y cyfeiriad hwn am fod ynddo gyfeiriad coffadwriaethol at adgyfodiad Crist. Cyfeiria at y dyfodol, o herwydd ei fod yn adgoffa y mynedol. Mae y rheswm yn amlwg. Adgyfodiad Crist sydd yn pwrcasu adgyfodiad ei ganlynwyr, ac y mae yn wystl anffaeledig o hono. Mae y ddau adgyfodiad yn anwahanadwy. Mae bedydd, gan hyny, tra yn adgoffa adgyfodiad Crist, yn cyfeirio yn mlaen, o anghenrheidrwydd, at adgyfodiad ei ganlynwyr." (*Christian Doctrines. By J. M. Pendleton, D.D.*, p. 350.)

Dymuna yr awdwr gyfeirio y darllenydd at yr erthygl ar "Fedyddio dros y Meirw," yn *Seren Gomer*, am Ionawr, 1880, yn yr hon yr ymdrinir yn helaeth â'r pwnc o dan ei wahanol agweddau.

"Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hwn sydd yn ein hachub ninnau, *sef* bedydd, (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist." (1 Pedr iii. 21.)

Yn y geiriau hyn ceir y sylweddair bedydd (*baptisma*), yr hwn a ddefnyddir fel gwrthlun i'r diluw. Ymddengys fod y rhagenw perthynasol "hwn" (Groeg ὅ, *ho*,) yn golygu nid yr elfen ddwfr yn unig, ond *yr holl amgylchiad gyda'i gilydd, a holl ymddygiad Noah yn nglyn âg ef;* fel ag y mae bedydd yn golygu nid yr elfen ddwfr yn unig, ond hefyd *yr holl bethau rhagdybiedig yn y bedydd;* megys Dwyfoldeb sefydliad yr ordinhad, ufydd-dod yr ymgeisydd, a'r cymhwysderau moesol gofynol i blygu iddi.

A deall y geiriau yn y goleu hwn, y mae y llun a'r gwrthlun yn cyfateb mewn amryw bethau:—

1. Yr oedd gorchymyn Dwyfol yn rheol i adeiladu yr arch. Yr oedd i gael ei gwneyd yn ol cynllun Duw yn unig, o ran ei maintioli, ei ffurf, a'i defnyddiau. (Gen. vi. 14—16. 22.) Y mae bedydd yn orchymyn Duw, ac i'w weinyddu yn unig ac yn hollol yn ol ei gyfarwyddyd ef.

2. Yr oedd holl ufydd-dod Noah yn ffrwyth ffydd yn ngair Duw. "Trwy ffydd Noah, wedi ei rybuddio gan Dduw am y pethau nis gwelsid eto, gyda pharchedig ofn, a ddarparodd arch i achub ei dŷ." (Heb. xi. 7.) Credodd yn llymder bygythiad Duw yn erbyn y byd, ac yn nhiriondeb trugaredd Duw tuag ato ef ei hun, ac ymroddodd i

ddarparu arch. Credodd eiriau Duw, ufyddhaodd i'w orchymyn, ac ymddiriedodd yn ei addewid.

Dengys y credadyn yn ei fedydd yr un ffydd fywiol a gweithgar. Creda yn ngwirionedd bygythion Duw yn erbyn pechod, ac yn iawn Crist fel unig foddion gwaredigaeth rhag y llid a fydd; a dengys ei fod yn ymddiried yn marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Crist fel unig sail ei iachawdwriaeth, trwy gymmeryd ei gladdu a'i adgyfodi gydag ef yn nyfroedd y bedydd.

3. Yr oedd Noah am dymhor fel pe buasai yn gladdedig yn nyfroedd y diluw. Yr oedd wedi ei gau i fyny yn yr arch, y dyfroedd mawrion o'i amgylch, a'r ffrydiau nerthol o ffenestri y nefoedd yn ymdywallt arno a'i orchuddio, fel yr oedd mewn ystyr wedi ei gladdu yn y dyfroedd. Felly mae y credadyn yn cael ei gladdu gyda Christ yn y bedydd. Y mae y dyfroedd yn ei amgylchu a'i orchuddio yn y weithred.

4. Fe achubwyd Noah trwy ei ufydd-dod. Achubwyd ef a'i deulu rhag barn y diluw; diogelwyd ef rhag dinystr, a daeth allan yn ddiogel o'r arch fel etifedd byd newydd.

Mae'n eglur na wna un dull ond tansuddiad, gydag ail ymddangosiad y bedyddiedig ar dir y rhai byw, ddwyn un tebygolrwydd i amgylchiad Noah a'r diluw.

Dywed yr apostol fod bedydd yn awr yn achub credinwyr, yn debyg fel yr achubwyd Noah yn yr arch.

(1,) Mae bedydd yn achub y credadyn oddiwrth euogrwydd yr anufydd. Teimla fod gwobr lawer i'w chael o gadw gorchymynion Duw, a bod Duw yn cyfarfod â dynion ar dir ufydd-dod, ac yn gwenu arnynt. (Salm xix. 11. Act. xxii. 16. Tit. iii. 5.)

(2,) Dylanwada yn santeiddiol ar feddwl a chalon dyn am weddill ei oes. Dyma y rheswm, fe ddichon, paham y mae yr apostol yn defnyddio y ferf "achub" yn yr amser presennol (Groeg σώζει, *sôzei)*, er dangos ei fod o hyd, yn rhyw ystyr neu gilydd, yn gweithredu yn achubol ar ddyn, yn debyg fel y mae gwaith y milwr yn cofio am ei lŵ yn gymhorth i gadarnhau ei deyrngarwch ef: gwel Rhuf. vi. 1—6.

(3,) Dadgana fod y bedyddiedig mewn cyflwr cadwedig. Dichon fod y ferf "achub" i'w deall, mewn rhan, yn yr ystyr *ddadganiadol (declarative)*, er gosod allan fod y bedyddiedig, pan y cydffurfir â dysgeidiaeth yr efengyl, *yn gadwedig*. Ceir llawer o engreifftiau o'r ystyr ddadganiadol yn y Beibl, megys gwaith y prophwydi yn diwreiddio ac adeiladu teyrnasoedd (Jer. i. 10.), a'r llythyren yn lladd (2 Cor. iii. 6.), pryd na olygir ond *rhagfynegi* neu *ddadgan* hyny.

5. Trosglwyddwyd Noah trwy gyfrwng yr arch a'r dyfroedd i fyd newydd. Pan aeth i mewn i'r arch, dinesydd yr hen fyd ydoedd; pan y daeth allan, yr oedd yn ddinesydd byd newydd. Mae bedydd yn derfyngylch gweledig rhwng y byd a'r eglwys. Pan y bedyddir y credadyn, y mae mewn modd gweledig yn symmud o'r byd i deyrnas nefoedd. Crist yw y drws ysbrydol ac anweledig i'r eglwys, ond bedydd yw y drws allanol a gweledig.

6. Er holl ymdrech Noah ei hun, i Dduw yr oedd yn ddyledus am ei waredigaeth. Duw a'i cauodd yn yr arch, ac a lywiodd y llestr; Duw a ddiogelodd ei iechyd, ac a arbedodd ei fywyd; a Duw a'i dygodd allan i'r byd newydd. (Gen. vi. 18. vii. 16. 23. viii. 1. 15, 16, &c.) Felly ninnau; nid yw bedydd ynddo ei hun yn achub—y mae ein hachubiaeth yn deilliaw trwy adgyfodiad Iesu Grist, yr hyn a ddelweddir yn ein bedydd. Yr oedd ei adgyfodiad ef yn profi digonolrwydd ei aberth, a gwirioneddolrwydd ei hawliau fel Messiah; ac felly y mae yn sail ffydd, ac yn destyn ymffrost yr holl saint.

## NODIADAU DIWEDDOL AR YSTYR BAPTIZO.

Terfynwn y bennod hon trwy nodi ychydig o brofion cyfochrol *(collateral evidence)*, er egluro mai trochi neu dansuddo yw ystyr *baptizo.*

1. *Y geiriau a ddefnyddir yn y cyfeiriadau at fedydd yn yr Epistolau.*

"Fel y santeiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr, trwy y gair." (Eph. v. 26.)

"Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân." (Tit. iii. 5.)

Cydnabydda esbonwyr yn gyffredin fod yr adnodau hyn yn cyfeirio at yr ordinhad o fedydd. Y gair a ddefnyddia yr apostol am "*olchfa*" a "*golchiad*" yw *loutron;* ni ddefnyddir ef yn y Testament Newydd ond yn yr adnodau hyn. Ei ystyr yw *ymdrochfa* neu *le i ymdrochi,* neu *ddwfr i ymdrochi ynddo; ymdrochiad;* EN LOUTRO, *wrth ymdrochi.* (*Liddell & Scott's Lexicon*). Defnyddiai y Groegiaid y gair *loutron* i osod allan *ymdrochle* ac *ymdrochiad.* Os cyfeiria yr adnodau hyn at fedydd, ynte, gosodant ef allan fel *trochiad;* "badd dwfr," (*the bath of water,*) a "badd yr adenedigaeth," (*the bath of regeneration*) ydyw i ganlynwyr Crist. Mae y trochiad allanol yn rhagdybied adnewyddiad mewnol yr enaid gan yr Ysbryd Glân.

"Neshawn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi glanhau ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corph â dwfr glân." (Heb. x. 22.)

Dywed Barnes, Whitby, a Stuart, fod cyfeiriad yn yr adnod hon at fedydd. Nid oes un golchiad arall â dwfr yn cael ei ddysgu yn yr efengyl. Nis gall golchi y corph â dwfr, neu mewn dwfr, olygu gwaith gras ar yr enaid, oblegyd gosodir hyny allan yn y rhan flaenorol o'r adnod,—"wedi glanhau ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg." Y mae y geiriau "*golchi*" a "*chorph*," gan hyny, i'w cymmeryd yn yr ystyr lythyrenol, ac yn arddangos bedydd. Y ferf am olchi yma yw *louo*. Yn ol Geiriaduron Dr. Robinson a Liddell a Scott, golyga y ferf LOUO, *golchi*, sef golchi y person i gyd, neu yr holl gorph; nid y dwylaw a'r gwyneb yn unig, yr hyn a osodir allan drwy *nipto*.

Yn Ioan xiii. 10. defnyddir ef am *ymdrochi*. "Yr hwn a olchwyd (*leloumenos*) nid rhaid iddo ond golchi (*nipsasthai*) ei draed, eithr y mae yn lân oll." Ystyr yr adnod hon yn ol Dr. Bloomfield yw hyn,—"Fel y mae yr hwn a ymdrochodd (*who has bathed*) wedi ei lwyr buro, a'i addasu i ymuno â'r cwmpeini mewn gwledd, oddi eithr y gall ei draed fod mewn anghen eu golchi, felly yr ydych chwi wedi eich puro trwy fy ngair i." "Yr hwn a olchwyd drosto oll yn y *bath*," ebe'r enwog Matthew Henry, "(fel yr arferid gwneyd yn fynych yn y gwledydd hyny,) pan y dychwel i'w dŷ, ni raid iddo ond golchi ei draed," &c. "Ni raid i'r hwn a drochwyd (*one who has been bathed*) ond golchi ei draed, i fod yn lân oll." (*The Annotated Paragraph Bible.*) "Nid oedd raid i'r hwn a olchasai ei hun drwy drochiad mewn *bath*, yr hyn a wneid yn gyffredin cyn y prif bryd, a thua diwedd y diwrnod, ychwanegu golchi ei holl gorph. Yr unig le y byddai yn debyg o'i lychwino fyddai ei draed, a chanfyddai yn anghenrheidiol eu golchi hwynt, feallai amryw weithiau." (*Webster & Wilkinson's Greek Testament.*) "*He that is bathed,*" sydd yn y Cyfieithiad Diwygiedig Seisnig, (1881,) ac i'r un perwyl y cyfieitha Dr. Noyes, J. B. McClellan, ac ereill. Priodola y taenellwyr dysgedig hyn oll y meddylddrych o *drochiad* i *louo* yn Ioan xiii. 10.; gan mai yr un gair a ddefnyddir yn Heb. x. 22., a chan na chyfyngir y weithred i un *ran* o'r corph, ond yn hytrach fod y weithred yn cymmeryd i mewn y *dyn—golchi ein* CORPH *mewn dwfr glân—leloumenoi to soma hudati katharô*—rhaid fod y geiriau yn golygu golchiad neu faddiad y corph trwy drochiad, ac mai trochiad yw bedydd at yr hwn y cyfeiria y geiriau. Gosodir gorchymyn Eliseus i Naaman i fyned ac *ymolchi* yn yr Iorddonen, allan gan y LXX. drwy *louo*, ond desgrifir ei waith yn *ymdrochi* mewn canlyniad i hyny, drwy *baptizo;* yr hyn

sydd yn profi fod *louo* yn gystal a *baptizo* yn golygu *trochi yr holl gorph*, os na ddywedir rhywbeth i gyfyngu y weithred.

Mae y tystiolaethau hyn yn dangos yn eglur mai bedydd y crediniol trwy drochiad yw bedydd yr efengyl; a bod ei arwyddocâd yn galw am iddo gael ei weinyddu trwy drochiad, mewn trefn i wneuthur cyfeiriadau yr apostolion ato yn ddealladwy.

2. *Fod geiriau ereill yn cael eu defnyddio am y gweithredoedd o Daenellu a Thywallt, a'r cyffelyb.*

Mae yr iaith Roeg yn iaith nodedig o gyfoethog, a chyflawnder o eiriau ynddi i osod allan bob math o syniadau, ac hyd y nod y gwahaniaeth mwyaf cywrain rhwng ymadroddion cyffelyb, fel y gwelir oddiwrth y rhestr ganlynol, yr hon a ellid ei hestyn bron yn ddiderfyn:—

Ballo,—*Taflu, bwrw, tywallt yn gyflym, tywallt.* (Mat. ix. 17. Marc ii. 22. Luc v. 37. Ioan xiii. 5. Mat. xxvi. 12.)

Brecho,—*Gwlychu, lleitho, gwlawio.* (Luc vii. 38. 44. Mat. v. 45. Luc xvii. 29. Iago v. 17, 18.)

Buthizo,—*Suddo yn y dyfnder, soddi.* (Luc v. 7. 1 Tim. vi. 9.)

Duno,—*Suddo i'r gwaelod, boddi.* Machlud. (Marc i. 32. Luc iv. 40.)

Cheo, ac Ek-cheo,—*Tywallt, tywallt allan.* (Mat. ix. 17. Marc ii. 22. Act. ii. 17. 33. xxii. 20. Rhuf. iii. 15. Tit. iii. 6. Dad. xvi. 1, 2. 6. 8. 10. 12. 17.)

Kataduo,—*Myned i lawr, suddo; suddo i mewn.* (Nid yw y ferf hon yn dygwydd yn y Testament Newydd, ond defnyddir hi gan y Tadau Groegaidd i osod allan y weithred o fedyddio, ac yn gylchgyfnewidiol â *baptizo.)*

Katakluzo,—*Dylifo, gorchuddio megys â diluw.* (2 Pedr iii. 6.)

Katapino,—*Yfed i fyny, llyncu i fyny, boddi, dinystrio.* (1 Pedr v. 8. Heb. xi. 29. 1 Cor. xv. 54.)

Katapontizo,—*Bwrw i'r môr, soddi neu foddi yn yr eigion.* (Mat. xiv. 30. xviii. 6.)

Louo,—*Golchi person neu holl gorph dyn; ymdrochi.* (Ioan xiii. 10. Act. ix. 37. xvi. 32. Heb. x. 22. Dad. i. 5.)

Nipto,—*Golchi y dwylaw, y traed, neu y wyneb; golchi rhyw ran o'r corph* yn wrthgyferbyniol i Louo uchod. (Mat. vi. 17. xv. 2. Marc vii. 3. Ioan ix. 7. 11. 15. 1 Tim. v. 10.)

PLUNO,—*Golchi* neu *lanhau dillad.* (Dad. vii. 14.)

RAINO, a RANTIZO,—*Taenellu.* (Heb. ix. 13. 19. 21. x. 22.)

Dymunir sylw difrifol y darllenydd at y rhestr o'r engreifftiau uchod. *Nid ydyw baptizo* yn *cael ei ddefnyddio mewn un man yn y Testament Newydd na'r LXX i osod allan na thaenellu, na thywallt, na gwlawio.* Pe buasai yn golygu *taenellu* neu *dywallt, defnynu* neu *wlawio,* gellid dysgwyl y buasai yn dygwydd yn rhywle i osod hyny allan; ond gan nad ydyw i'w ganfod yn un man am daenellu, na thywallt, na gwlawio, ond mai geiriau ereill a ddefnyddir, mae y casgliad yn anocheladwy nad ydyw *baptizo* yn golygu y naill na'r llall.

Peth arall; pe byddai *baptizo* yn golygu *trochi, tywallt,* a *golchi,* fel y dysgir gan bleidwyr taenelliad, nis gellid gwybod pa bryd y golygai y naill, yn hytrach na'r llall. Mae y *cyssylltiadau* yn ein dysgu am wahanol ystyron y geiriau *gwaed, cnawd,* a *ffydd* mewn gwahanol leoedd, ond ni wnelai y cyssylltiadau ein cynnorthwyo i benderfynu pa ystyr i'w briodoli i'r gair *baptizo,* os ydyw yn golygu *trochi, tywallt,* a *thaenellu,* &c.; ond byddai raid i ni fod mewn ansicrwydd parhaus! Ond nid yw Iesu Grist wedi ein gadael yn y dyryswch hwn; rhoddodd orchymyn eglur, a defnyddiodd air diamwys i osod allan ei ordinhad santaidd.

3. *Mae cystrawiad yr iaith Roeg hefyd yn profi mai trochi neu suddo yw ystyr baptizo.*

Tywelltir neu taenellir *ar,* ond bedyddir *i* neu *mewn,* rhyw wrthddrych; defnyddir *epi=ar,* mewn cyssylltiad â *rantizo, raino,* a *cheo;* ac *en* neu *eis=yn, mewn* neu *i,* mewn cyssylltiad â *baptizo; a chofier na wna* BAPTIZO EPI (bedyddio ar), *a* RAINO A RANTIZO EN (taenellu mewn), *gydgordio.* Y cystrawiad yn ddieithriad yw *bedyddio mewn* neu *i,* a *thaenellu ar.* Edrychwn ar engreifftiau lle y defnyddir y geiriau uchod a'u perthynasau cyfansawdd.

Lef. vi. 27. "A phan daeneller o'i waed ef *ar* ddilledyn," ("*epirrhantisthê*....EPI *to himation.*")

Lef. viii. 30. "Ac a'i taenellodd *ar* Aaron," ("*proserrhanen* EPI *Aaron,*") &c.

Lef. xiv. 7. "A thaenelled seithwaith *ar* yr hwn a lanheir," ("*perirrhanei* EPI *ton katharisthenta.*")

Lef. xiv. 51. "A thaenelled *ar* y tŷ seithwaith," ("*perirrhanei* ....EPI *tên oikian.*")

Lef. xvi. 14. "A thaenelled â'i fys *ar* y drugareddfa," ("*rhanei* EPI *to hilastêrion.*")

Num. xix. 18. "A chymmered isop, a golched (*bapsei eis to hudôr*) un dihalogedig ef mewn dwfr, a thaenelled *ar* y babell, ac *ar* yr holl lestri, ac *ar* yr holl ddynion oedd yno, ac *ar* yr hwn a gyffyrddodd âg asgwrn," ("*perirrhanei* EPI *ton oikon, kai* EPI *ta skeuê, kai* EPI *tas psuchas, kai* EPI *ton hêmmenon,*") &c.

Esec. xxxvi. 25. "Ac a daenellaf *arnoch* ddwfr glân," ("*kai ranô* EPH' *humas.*")

Ecsod iv. 9. "Ac a'i tywellti *ar* y sychdir," ("*kai ekcheeis* EPI *to xêron.*")

Lef. viii. 12. "Ac efe a dywalltodd o elew yr enneiniad *ar* ben Aaron," ("*kai epechee Mouses apo tou elaiou tês chriseôs* EPI *tên kephalên Aaron,*") &c.

Tit. iii. 6. "Yr hwn a dywalltodd efe *arnom* ni yn helaeth," ("*hou execheen* EPH' *hêmas plousiôs.*")

Ond yr arddodiaid a ddefnyddir mewn cyssylltiad â *baptizo* yw *en, mewn,—baptizo en,* TROCHI MEWN, (Mat. iii. 6. 11. Marc i. 5. 8. Luc iii. 16. Ioan i. 26. 31. 33. Act. i. 5. 2 Bren. v. 14., &c.) neu *eis, i.* (Marc i. 9. *Joseph. Ant.* iv. 4. § 6.) Er amled y dywedai Ioan ei fod yn bedyddio mewn dwfr, ni ddywedodd unwaith, "*egô baptizô* EPH' *humas hudôr*"="yr wyf yn bedyddio dwfr arnoch chwi," ond "*egô baptizô humas en hudati*"="YR WYF YN EICH BEDYDDIO CHWI MEWN DWFR." Pe buasai *baptizo* yn golygu taenellu ar ddyn, buasai yr arddodiad *ar* yn rhyw le i'w chanfod mewn cyssylltiad âg ef, i arddangos fod y dwfr yn cael ei gymhwyso at y dyn; ond ni cheir hi yn un man.

---

# PENNOD VI.

## HANESIAETH GWEINYDDIAD BEDYDD.

---

*Neander, Mosheim, Doddridge, a Schaff ar Ddull Bedydd*—I. BEDYDD YN YR EGLWYS GYNTEFIG—*Dyfyniadau o Barnabas, Justin Ferthyr, Tertullian, Gregory, Cyril, Hippolytus, Jerome, Basil, a Chrysostom*—II. DECHREUAD TAENELLIAD AR Y CYFANDIR, AC YN AFFRICA—*Novatian—Gwrthwynebiad i'w Ordeiniad o herwydd dull ei Ddychweliad ac afreoleiddiwch ei Fedydd—Cyprian ar Daenelliad*—III. BEDYDD YN Y CANOL OESAU, A CHYFODIAD TAENELLIAD YN LLOEGR—*Murddarlun* (fresco) *o Fedydd Crist, canrif* v—*Trefn gweinyddiad Bedydd—Bedydd yn Lloegr—Darlun o Fedydd Iarll Warwick—Dyfyniadau o Wall a Lingard—Y modd y sefydlwyd Taenelliad fel Dull Bedydd yn Lloegr—John Calfin—Cymmanfa Westminster—Lledaeniad Taenelliad ar y Cyfandir*—IV. BEDYDD YN EGLWYS GROEG A'R EGLWYSI DWYREINIOL—*Hanes Dechreuad Eglwys Groeg—Rhifedi ei Deiliaid—Dr. Wall ar Ddull Bedydd ynddi—Dyfyniadau o Theophylact—Defodlyfr Eglwys Groeg—Taenelliad yn rhwystr i undeb Eglwysi Groeg a Rhufain—" To Pedalion," neu Ddeddflyfr Eglwys Groeg—Alexander de Stourdza—Y Nestoriaid—Yr Armeniaid—Yr Abyssiniaid, &c.—Eglwys Groeg yn gwrthod derbyn Taenellwyr heb eu bedyddio—Y ganghen Rwssiaidd o Eglwys Groeg yn gwneyd*—NODIADAU DIWEDDOL—*Un Bedydd yn yr Eglwys Gyntefig—Trochi Deirgwaith a Bedyddio yn Noeth—Y Tri Throchiad yn Anysgrythyrol.*

YN amserau boreuol yr eglwys, trochiad oedd yr arferiad cyffredinol. Ni feddylid bedyddio yr un ffordd arall, hyd nes y dysgwyd fod bedydd yn anhebgorol i iachawdwriaeth, pryd y cododd yr arferiad o dywallt dwfr ar, ac o amgylch y cleifion ar eu gwelyau, i ddynwared bedydd yr efengyl; ond eithriad yn achos rhai peryglus o glaf ydoedd hyn. Yr arferiad cyffredin oedd bedyddio trwy drochiad.

Wrth i ni ymgynghori âg haneswyr eglwysig diweddar, yr ydym yn cael eu bod yn tystiolaethu yn unfrydol mai trwy drochiad y bedyddid yn yr eglwys gyntefig.

"Gweinyddid bedydd yn wreiddiol," ebe Neander, "trwy drochiad, ac y mae llawer o gymhariaethau Paul yn cyfeirio at y dull yma o'i weinyddiad. Y mae y trochiad yn arwyddlun o farwolaeth, o fod yn gladdedig gyda Christ; y mae y dyfodiad allan o'r dwfr yn arwyddlun o adgyfodiad gyda Christ; a'r ddau yn nghyd a arddangosant yr ailenedigaeth, marwolaeth yr hen ddyn, ac adgyfodiad i fywyd newydd." (*Church History, vol.* i., *and History of the Planting of Christianity, vol.* i. pp. 161—163.)

"Gweinyddid y sacrament o fedydd yn y ganrif hon," (y gyntaf) ebe Mosheim, "trwy drochiad yr holl gorph yn y bedyddfan." "Yr oedd y personau ag oeddynt i gael eu bedyddio (yn yr ail ganrif,) ar ol iddynt ddweyd y credo, cyffesu ac ymwrthod â'u pechodau, yn neillduol y diafol a'i hudoliaethau rhwysgfawr, yn cael eu suddo o dan y dwfr, a'u derbyn i deyrnas Crist trwy alwad difrifol ar y *Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân*, yn ol gorchymyn pendant ein Gwaredwr bendigedig." (*Mosheim's Eccles. Hist. vol.* i. pp. 94. 155. *Ed.* 1826.)

Yn gyffelyb y dywed yr enwog Ddr. Doddridge ar y pwnc hwn. "Y rheswm cryfaf yn ffafr trochiad," eb efe, "yw, ei fod yn cael ei ymarfer yn yr oesoedd cyntefig. Y mae amryw destynau yn y Testament Newydd yn dangos hyn yn amlwg (Mat. iii. 6. 16. Ioan iii. 23. Act. viii. 36—39.); ac ymddengys oddiwrth y Tadau ei fod o leiaf yn cael ei arfer yn gyffredin, hyd nes y cyfododd y *clinic baptism*, hyny yw, bedydd rhai ar eu claf wely." (*Doddr. Lect.* ccii. § 3.)

"Gyda golwg ar y dull allanol o weinyddu yr ordinhad hon," ebe Dr. Philip Schaff, "tansuddiad (*immersion*) ac nid taenelliad, mae yn ddiammheuol, oedd y dull gwreiddiol ac arferol. Dangosir hyn trwy ystyr bennodol y geiriau *baptizo*, *baptisma*, *baptismos*, y rhai a ddefnyddir i osod allan y ddefod. Wedi hyny, gan gyfatebiaeth bedydd Ioan, yr hwn a weinyddid *yn* yr Iorddonen, (ἐν, Mat. iii. 6. cymharer adn. 16.; hefyd εἰς τὸν 'Ιορδάνην, Marc i. 9.) Yn mhellach gan gymhariaethau o fedydd yn y Testament Newydd gyda'r mynediad trwy y Môr Coch (1 Cor. x. 2.), gyda'r diluw (1 Pedr iii. 21.), gyda'r baddon (*bath*) (Eph. v. 26. Tit. iii. 5.), gyda chladdedigaeth ac adgyfodiad. (Rhuf. vi. 4. Col. ii. 12.) Yn ddiweddaf, gan arferiad cyffredin hynafiaeth eglwysig, yr hyn oedd bob amser trwy dansuddiad, (megys ag y mae hyd y dydd heddyw yn yr Eglwysi Dwyreiniol, Rwssiaidd, a Groegaidd); yn y rhai ni arferir tywalltiad a thaenelliad, ond mewn amgylchiadau o anghenrheidrwydd arbenig, megys cystudd a dynesiad marwolaeth...... Gyda golwg ar *ffurf* bedydd, gan hyny, gorfodir yr hanesydd diduedd gan esboniadaeth (*exegesis*) a hanesyddiaeth i roddi ffordd yn sylweddol ar y pwynt hwn i'r Bedyddwyr, fel y gwneir mewn gwirionedd, gan y rhan fwyaf o ysgolheigion Germanaidd, megys Neander a Knapp; a hefyd gan y duwinyddion Esgobaethol Seisnig, Conybeare a Howson." (*History of the Apostolic Church, vol.* ii. pp. 256—258.)

## I. Bedydd yn yr Eglwys Gyntefig.

Canrif I.—*Barnabas.* "Yr ydym yn myned i lawr i'r dwfr yn llawn o bechodau a halogrwydd, ond yn dyfod i fyny drachefn gan

ddwyn ffrwyth yn ein calonau; gan feddu yn ein hysbryd yr ofn a'r gobaith sydd yn Iesu."

CANRIF II.—*Jestyn Ferthyr*, yn y flwyddyn 140 A.D. "Y maent hwy y rhai a berswadir ac a gredant fod y pethau hyny a ddysgir genym ni yn wirionedd, ac a addawant fyw yn eu hol, yn cael eu cyfarwyddo yn y lle cyntaf i weddio a gofyn i Dduw gydag ympryd am faddeuant o'u pechodau blaenorol; ac yr ydym ninnau hefyd yn gweddio ac yn ymprydio gyda hwynt. Yna yr ydym yn eu harwain i fan lle mae dwfr, ac ailenir hwy drwy yr un ffordd o adenedigaeth ag yr ail anwyd ninnau; oblegyd baddir hwy y pryd hyny mewn dwfr (*to en hudati tote loutron poiountai*) yn enw Duw, Tad ac Arglwydd pob peth, a'n Hiachawdwr Iesu Grist, a'r Ysbryd Glân." (*Apologia* i. 61.)

*Tertullian*. O.C. 200. "Fel gyda bedydd ei hun, y mae gweithred gorphorol, gan ein bod yn cael ein tansuddo mewn dwfr (*quod in aquâ mergimur*); a dylanwad ysbrydol, gan ein bod yn cael ein rhyddhau oddiwrth bechodau." (*De Baptismo, c.* vii.)

Eto, ar *Adgyfodiad y Corph, pen.* xlvii. wrth ddyfynu Rhuf. vi. 3. dywed:—"Oni wyddoch chwi am gynnifer o honom ag a drochwyd (*tincti sumus*) i Grist Iesu, ein trochi ni (*tincti sumus*) i'w farwolaeth ef?"

Eto, wrth ysgrifenu yn erbyn *Praxeas, pen.* xxvi. wrth son am orchymyn Crist yn Mat. xxviii. 19. dywed:—"Ac yn ddiweddaf oll, gan eu gorchymyn i drochi i'r Tad (*ut tinguerent in patrem*), a'r Mab, a'r Ysbryd Glân." Yn ei draethawd ar *Goron y Milwr, pen.* iii. dywed:—"Yna trochir ni deirgwaith," (*dehinc ter mergitamur.*) "Y mae cyfraith *trochiad* (*tinguendi*)," eb efe yn *De Baptismo*, "yn cael ei rhoddi, a'i ffurf yn cael ei nheillduo: *Ewch*," eb efe, "*dysgwch y Cenedloedd, gan eu trochi* (*tinguentes*) *hwy yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.* A phan yr ychwanegir at y rheol hon, *Oddi eithr aileni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, nid a efe i mewn i deyrnas nefoedd*, y mae yn rhwymo ffydd i'r anghenrheidrwydd o fedydd. Ac o ganlyniad, yr oedd yr holl gredinwyr o hyny allan yn cael eu trochi," (*tinguebantur.*) (*Conant's Matthew, Appendix*, p. 77. *Dr. Wall's Hist. vol.* i. p. 90.)

CANRIF III.—*Gregory Thaumaturgus*, Esgob Neo-Cæsarea, yn Asia Leiaf, yn y flwyddyn 245. Wrth son am fedydd Crist, defnyddia yr ysgrifenydd hwn y gair KATADUO, *suddo*, *soddi*, neu *achosi i soddi*, yn gyfystyr a BAPTIZO: "Sodda fi i afon yr Iorddonen." (*Kataduson me tois Iordanou rheithrois. Gale's Refl.* p. 202.)

*Hippolytus, Esgob Rhufain*, tua'r flwyddyn 220.—"Oblegyd yr wyt ti newydd glywed pa fodd y daeth Iesu at Ioan, ac y bedyddiwyd ef ganddo yn yr Iorddonen. O amgylchiadau rhyfedd! Pa fodd y baddiwyd mewn ychydig ddwfr yr afon annherfynol sydd yn llawenychu dinas Duw; y ffynnon anamgyffredadwy yr hon sydd yn anfon allan fywyd i bawb, yr hon nid oes diwedd iddi, yn cael ei gorchuddio (*ekalupteto*) gan ychydig o ddyfroedd cyfnewidiol!" (*Discourse on the Holy Theophany* ii.)

CANRIF IV.—*Cyril, Esgob Jerusalem*, yn y flwyddyn 350. "Oblegyd fel y bu Iesu, gan gymmeryd arno bechodau y byd, farw, fel ar ol

lladd pechod, y gallai dy godi di i fyny mewn cyfiawnder; felly hefyd tithau, drwy fyned i lawr i'r dwfr, ac mewn ffordd cael dy gladdu yn y dyfroedd, megys efe yn y graig, a godir i fyny drachefn, gan rodio mewn newydd-deb buchedd." (*Instruction* iii. *On Baptism* xii.)

Cawn y dystiolaeth ganlynol gan yr un ysgrifenydd (*Initiation* v. 4.) o barthed i'r ordinhad yn ei oes ef:—

"Ar ol y pethau hyn, chwi a arweiniwyd wrth eich llaw i lyn (*kolumbêthran*) santaidd y bedydd Dwyfol, megys Crist o'r groes i'r bedd parotoedig; a gofynwyd i bob un, os oedd yn credu yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân; a chwi a broffesasoch y broffes achubol, ac a suddasoch i lawr (*kateduete*) dair gwaith i'r dwfr, ac a ymddadsuddasoch (*aneduete*) drachefn," &c.

Y mae dau neu dri o bethau i sylwi arnynt yn y dyfyniad hwn, gyda golwg ar ddull bedydd:—

1. Cymhara y weithred o fedyddio i gladdedigaeth Crist.

2. Geilw y lle y gweinyddid bedydd—KOLUMBETHRAN=*ymdrochle*, (*a place for diving or smimming; a pool, a bath*). Dyma y gair a ddefnyddia Ioan am *lyn* Siloam. (Ioan ix. 7. 11.)

3. Defnyddir y geiriau *kataduo* am *suddiad i lawr*, ac *anaduo* am *gyfodiad i fyny* o ddyfroedd y bedydd. (Gwel *Conant's Baptizein, sect.* v.)

*Jerome, Cyfieithydd y Vulgate*, tua'r flwyddyn 370. "Ac fe'n tansuddir ni deirgwaith (*ter mergimur*), fel yr ymddangoso un sacrament y Drindod."

*Basil Fawr*, Esgob Cæsarea yn y flwyddyn 370. "Gan efelychu claddedigaeth Crist drwy y bedydd; oblegyd y mae cyrph y rhai a fedyddir fel pe byddent yn cael eu claddu (*enthaptetai*) yn y dwfr." "Y mae y dwfr yn arddangos arwyddlun marwolaeth, gan dderbyn y corph megys mewn beddrod." (*On the Holy Spirit, chap.* xv. 35.)

*Chrysostom*, Esgob Caercystenyn, yn y flwyddyn 398. "Oblegyd bod yn drochedig a suddedig i lawr, ac yna ymddadsuddo, sydd yn arwydd o'r disgyniad i'r bedd, ac o'r cyfodiad oddi yno. Am hyny y mae Paul yn galw y bedydd y bedd, gan ddywedyd, 'Claddwyd ni gan hyny gydag ef drwy y bedydd i farwolaeth.'" (*Comment. on 1 Cor. Discourse* xl. 1.)

Y mae ysgrifenwyr ereill yn y ganrif hon, megys Athanasius, Gregory Naziansus, ac Ambrose, yn dwyn eu tystiolaeth fwyaf eglur i arferiad cyffredinol yr eglwys o fedyddio trwy drochiad.

## II. Dechreuad Taenelliad ar y Cyfandir, ac yn Affrica.

Gan mai peth o sefydliad diweddarach na'r commisiwn yw tywalltiad neu daenelliad o dan yr enw bedydd, y mae yn beth tebygol

ei fod wedi tynu sylw ar y cyntaf, a chreu anfoddlonrwydd. Aeth yr eglwys yn foreu i gredu fod bedydd yn anhebgorol i iachawdwriaeth; a'r gred hon yw rhiant taenelliad neu dywalltiad mewn bedydd, a tharddle bedydd babanod. Pan y credodd y bobl nad oedd modd bod yn gadwedig heb fedydd, nis gallasent oddef i'w cyfeillion fyned i dragywyddoldeb yn golledig; ac eto, pan y byddent yn ngafaelion marwolaeth, ystyrient mai rhyfyg fuasai eu trochi; beth gan hyny a allasent wneyd yn fwy rhesymol na thywallt dwfr dros ac o amgylch y cleifion ar eu gwelyau, mor debyg ag y gallent i wir fedydd? Os gwnelai y cyfnewidiad hyn y tro gystal, yr oedd yn dawelwch mawr i'w meddwl i ystyried eu bod wedi achub enaid!

Y mae rhyw syniadau tebyg yn ymwneyd â meddyliau dynion yn awr. Gofynir weithiau fel hyn:—"*Pe byddai merch dyner yn glaf o'r darfodedigaeth, yn ofni Duw, ac yn dymuno dangos ei pharch i Iesu Grist trwy gymmeryd ei bedyddio, a wnelech chwi drochi hòno? byddai hyny yn ddigon am dani! Oni ddylid taenellu un yn y cyfryw gyflwr, yn hytrach na gadael iddi farw yn ddifedydd?*" Teimlad cyffelyb i hwn at y claf a roddodd fodolaeth i dywalltiad mewn bedydd ar y dechreu. Y mae yn tarddu oddiar y syniad fod rhyw *ddylanwad achubol* yn yr ordinhadau; y syniad yma sydd yn peri i'r drwg-weithredwr geisio y cymmundeb cyn marw, a'i wneyd i deimlo fod ei iachawdwriaeth yn ddiogel ar ol hyny! Cyfeiliornad yw hyn, ac i gyfeiliornad y mae yn arwain. Pan y mae credadyn yn ewyllys-gar i gymmeryd ei fedyddio, a'i iechyd corphorol yn gwneyd hyny yn beryglus, gall benderfynu mai ewyllys Duw yw iddo aros, hyd nes y byddo y perygl drosodd. Mewn amgylchiadau fel hyn, y mae Duw yn cymmeryd yr *ewyllys* am y *weithred;* a phe byddai farw yn ddifedydd, y mae mor gymmeradwy gan Dduw a phe buasai wedi ei fedyddio, os afiechyd a'i lluddiodd. (Cymharer 2 Chron. vi. 8.) Ond ni ddylai dynion gymmeryd eu teimladau yn rheol i gyfnewid deddfau'r nef!

Yr hanes cyntaf sydd genym am dywalltiad yn lle trochiad mewn bedydd, yw amgylchiad Novatian, tua'r flwyddyn 251, A.D. Pan yr oedd Novatian yn glaf, ac mewn perygl i farw, *tywalltwyd dwfr o'i amgylch (perichutheis)* tra y gorweddai ar ei wely. Nid ei daenellu a gafodd, ond fel yr arwydda y perwyddiad PERICHEO, *tywalltwyd dwfr arno ac o'i amgylch,* i ddynwared *trochiad* goreu y gellid, gan obeithio y buasai yr Arglwydd yn ystyried ei afiechyd, ac yn esgusodi y diffyg yn ei fedydd.

Wedi ei adferiad fe etholwyd y Novatian dan sylw yn Esgob eglwys Rhufain, ond gwrthwynebwyd ei etholiad o herwydd fod y bobl *yn ammheu didwylledd ei ffydd* fel un wedi ei ddychwelyd ar wely cystudd, ac am nad oedd *wedi ei fedyddio yn iawn.* Yr oedd yr

holl glerigwyr a llawer iawn o'r bobl gyffredin yn erbyn ei ordeinio yn bresbyter (ebe Dr. Wall), am na chafodd ei *fedyddio* yn rheolaidd; a phan yr ordeiniodd Fabian, Esgob Rhufain, ef yn bresbyter, "ni chydnabyddai y gweddill o'r clerigwyr (ebe Neander) fod ordeiniad person a fedyddiwyd trwy daenelliad yn safadwy." Yr oedd gan yr eglwys gyfraith nad oedd neb y tywelltid dwfr arno ar wely cystudd i gael ei ordeinio, ac yr oedd Fabian wrth ordeinio Novatian yn troseddu ei rheolau. (*Wall's Hist. of I. B., vol.* ii. p. 386. *Neander's Hist. of the Christ. Religion, vol.* i. p. 238.)

Cawn hanes yr amgylchiad yma gan Eusebius, (*Ecclesiastical History, B. VI. c.* 43.) mewn llythyr oddiwrth Cornelius, Esgob Rhufain, at Fabius, Esgob Antiochia, o'r hwn y cymmerwyd y dyfyniad canlynol:—"Wedi cael ei esmwythâu gan y consurwyr, fe syrthiodd i afiechyd trwm, a chan y tybid ei fod ar farw, efe, ar ol cael tywallt arno oddi amgylch, ar y gwely lle y gorweddai, a dderbyniodd *y gras;* os yn wir y gellir dweyd fod y fath un wedi ei dderbyn." Gwneir i Eusebius ddweyd, (yn ol y mwyafrif o gyfieithwyr,) fod Novatian wedi derbyn *bedydd trwy dywalltiad;* ond nid ydyw y gair *bedydd* yn y copi gwreiddiol.

Yn ol y cyfeiriad a wna Cyprian at y pwnc, a iaith y Cyfansoddiadau Apostolaidd, a Chrysostom, mae yn ymddangos mai derbyn *gras* a olyga, ac nid *bedydd trwy dywalltiad.* Yr oedd Cornelius yn ammheus a ellid dweyd am ddyn ag nad oedd wedi cael ei fedyddio, ond yn unig cael tywallt dwfr o'i amgylch ar y gwely, ei fod wedi derbyn y gras Dwyfol. (*Baptismal Tracts for the Times*, p. 54.)

Yn fuan wedi yr amgylchiad uchod, yr ydym yn cael un Magnus, yn ysgrifenu at Cyprian, Esgob Carthage, yn Ngogledd Affrica, yn nghylch rhyw bethau ag oedd yn aflonyddu ei feddwl. Ymddengys fod Cyprian yn arwr pethau newyddion yn yr eglwys, a bod Gogledd Affrica yn ddaear doreithiog i gynnyrchu llygriadau crefyddol. Yno, ebe Neander, y dechreuodd bedydd a chymmundeb babanod; a chawn daenelliad yn cael ei arfer a'i amddiffyn yno cyn fod son am dano o'r braidd yn un man arall. Un o'r pethau y dymunai Magnus eglurhad arno oedd a ganlyn:—"*Pa un a ydoedd y rhai y tywelltid dwfr arnynt ar eu gwelyau, fel y gwnaed ar Novatian, i gael eu bedyddio drachefn, ar ol iddynt wellhau?*" I hyn y mae Cyprian yn ateb:—

"Ymofynwch hefyd, fy anwyl fab, beth a feddyliaf am y rhai sydd mewn nychdod a gwendid yn derbyn gras Duw, pa un a ydynt i'w hystyried yn Gristionogion cyfreithlon, gan nad ydynt wedi eu baddio yn y dwfr achubol, ond cael tywallt dwfr arnynt o amgylch, (*eo quod aqua salutari non loti sint, sed perfusi.*) Gyda golwg ar hyn, nid ydyw fy marn ostyngedig i yn amddifadu neb o'i ragorfraint, fel ag i'w rwystro i benderfynu a gweithredu yn ol ei argyhoeddiadau.

Yr wyf yn ol eithaf fy ngallu eiddil yn barnu fel hyn,—nad ydyw y ffafrau Dwyfol yn cael eu hanafu na'u gwanhau, fel ag i beri fod llai na'r oll o honynt yn cael ei drosglwyddo, pan y mae y budd o honynt yn cael ei dderbyn gyda ffydd gyflawn a pherffaith y rhoddwr a'r derbyniwr. Oblegyd nid yw budreddi pechod yn cael ei olchi ymaith yn sacrament yr iachawdwriaeth, megys ag y mae budreddi y croen a'r corph yn cael ei olchi ymaith mewn golchfa gyffredin; fel ag i beri fod unrhyw anghenrheidrwydd am sebon a chynnorthwyon ereill, a llyn mawr neu bysgodlyn, drwy yr hyn y golchir y corph. Fel arall y mae mynwes y credadyn yn cael ei glanhau; fel arall y mae meddwl dyn yn cael ei buro trwy ffydd. Yn sacramentau yr iachawdwriaeth, *pan y mae anghenrheidrwydd yn galw*, y mae ffordd ferach o drafod pethau Dwyfol (*Divina compendia*) drwy ganiatâd Duw, yn cynnysgaethu yr holl fudd.

Ac nid oes anghen i un dyn gan hyny feddwl yn amgen, oblegyd nad ydyw y cleifion hyn, pan y derbyniant ras ein Harglwydd, yn cael dim ond tywalltiad dwfr arnynt; tra y dywed yr Ysgrythyr santaidd trwy y prophwyd Eseciel, '*Mi a daenellaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch lân.*'" (*Dr. Wall's Hist. vol.* ii. pp. 387, 388. *Baptismal Tracts for the Times*, pp. 54—58. *Duncan's History of the Baptists*, pp. 132—135. *Neander's Hist. vol.* i.)

Fe sylwa'r darllenydd ar y pethau canlynol wrth ddarllen amddiffyniad Cyprian i dywalltiad:—

1. Nad ydyw yn honi ei fod yn fedydd, nac yn ol y commisiwn, ond y gwna y tro yn lle trochiad.

2. Mai mewn *achosion o anghenrheidrwydd* yr oedd yn dadleu drosto. Ond mewn achos o *anghenrheidrwydd*, fe wna'r Gwaredwr tosturiol achub y credadyn heb fedydd, megys ag y gwnaeth â'r lleidr edifeiriol ar y groes.

3. Mai defod newydd oedd taenelliad, neu na fuasai eisieu gofyn am gyfarwyddyd yn ei chylch.

4. Ei fod yn priodoli rhinwedd y weithred i *ffydd* y gweinyddydd a'r derbynydd.

5. Ei fod yn edrych ar dywalltiad fel "ffordd ferach" i drafod pethau Duw na'r un ysgrythyrol.

6. Mai ei reswm dros dywallt dwfr ar y cleifion ydoedd, er mwyn iddynt dderbyn gras.

7. Er mwyn i'r dyn gael gras, yr oedd yn credu y gwnelai Duw *ganiatâu* cyfnewid yr ordinhad.

8. Nad all y geiriau, "*Mi a daenellaf arnoch ddwfr glân,*" brofi cyfreithlondeb tywalltiad mewn bedydd, oblegyd

(1,) Nid at fedydd y maent yn cyfeirio.
(2,) Nid y geiriau hyn yw rheol bedydd.
(3,) Nid taenellu yw bedyddio.
(4,) *Duw* sydd yn addaw taenellu y dwfr hwn, ac nid *dyn.*

Nid oedd y rhai y tywelltid dwfr arnynt fel hyn yn cael eu hystyried yn Gristionogion fel ereill; gelwid hwynt gyda diystyrwch gan ereill yn "glaforweddwyr" (*clinics*) ac nid "Cristionogion." Parhaodd yr arferiad yma o dywallt ar y *claforweddwyr* am ganrifoedd, fel eithriad i'r rheol gyffredin, ac yn oddefol yn eu hachos hwy yn unig. Nid cyn y flwyddyn 1311 y penderfynwyd nad oedd gwahaniaeth pa un ai trochi ai tywallt a wnelid.

Oddiwrth y nodiadau hyn, y mae y casgliadau canlynol yn hollol naturiol:—

1. Mai y dyb fod bedydd yn anhebgorol i iachawdwriaeth a roddodd ddechreuad i dywalltiad a thaenelliad.

2. Nad ystyrid yr arferiad o dywallt yn beth ysgrythyrol.

3. Fod gwrthwynebiad wedi cael ei ddangos iddo ar ei gyfodiad, gan na dderbynid y cyfryw y tywelltid arnynt i'r offeiriadaeth, am yr ystyrid eu dychweliad yn ammheus, a'u bedydd yn ddiffygiol.

4. Gan hyny fod tywallt a thaenellu o *ddynion.* Mewn cyfeiliornad y maent wedi dechreu; ar ddychymmyg dyn y sylfaenwyd hwynt gyntaf; rhyfyg dyn yn cyfnewid pethau Duw a roddodd le iddynt i ymwthio i'r eglwys; ac nid oes ond adferiad gair Duw i'r orsedd i fod yn *unig reol* ein ffydd a'n hymarweddiad, a'u hymlid ymaith o deyrnas Crist.

## III. Bedydd yn y Canol Oesau, a Chyfodiad Taenelliad yn Lloegr.

Yn amser erlidigaeth, byddai y Cristionogion cyntefig yn Rhufain yn ymneillduo i'r Catacombs i addoli, lle y gwnaent fedyddfanau neu ffynnonau er gweinyddu bedydd trwy drochiad ynddynt. Un o'r rhai hynotaf o'r ffynnonau hyn yw y fedyddfa a geir o fewn Catacomb San Ponziano, neu (fel y gelwir ef yn fynych) St. Pontianus. Llifa ffrwd o ddwfr trwy y lle, yr hon a droir i gronfa neu ddyfrgist (*reservoir)* gerllaw, yn yr hon y gweinyddid bedydd trwy drochiad yn ystod y pedair canrif cyntaf. Mae y gronfa hyd heddyw yn llawn o ddwfr, a mesura, yn ol Dr. Cote, 4 troedfedd a hanner o hyd, 3 troedfedd a hanner o led, a 3 troedfedd a hanner o ddyfnder. Mae bwa (*arch*) uwchben y gronfa ddwfr; ac uwchben y bwa ar y mur,

y mae mur-ddarlun (*fresco*) lliwiedig o fedydd Crist gan Ioan. Saif y Gwaredwr i fyny at ei feingefn yn y dwfr; saif Ioan ar y làn ar y llaw aswy iddo, a dyry ei law ddeheu ar ei ben er ei suddo o dan y

BEDYDD CRIST.



MUR-DDARLUN (FRESCO) CATACOMB SAN PONZIANO, RHUFAIN. CANRIF V.

dwfr; ar y llaw ddeheu i'r Iesu, y mae angel yn sefyll ac yn dal ei fantell ef; uwchben iddo ceir colomen, yn arwyddlun o ddisgyniad yr Ysbryd; ac wrth y dwfr mae hŷdd (*hart*) yn sefyll ac yn edrych yn awyddus am y dwfr, fel arwyddlun o'r ymgeisydd ieuanc (*catechumen*) yn sychedu am ddyfroedd y bedydd.

Yn yr ail a'r drydedd ganrif yn Itali ac Affrica, ac yn ddiweddarach, arferai y bedyddiedig â sefyll neu benlinio yn y dwfr hyd ei feingefn, neu yn uwch i fyny, a dodai y gweinyddydd ei law ddehau ar ei ben, gan ei wyro yn araf i lawr (yn mlaen fynychaf, fel yr ymddengys) hyd nes y llwyr dansuddid ef. Gwna cofio y ffaith hon egluro rhai ymadroddion dyeithr i ni yn Tertullian ac awdwyr ereill, megys fod Cristionogion yn cael eu "tansuddo trwy gael eu gwyro i lawr,"* "baddio y bronau,"† a "suddo y pen deirgwaith o dan y dwfr,"‡ &c. At yr arferiad yna y mae y cyfeiriad yn y darlun blaenorol, yn ngwaith Ioan yn dodi ei law ddeheu ar ben yr Iesu, er mwyn ei suddo ef.

Bernir fod darlun Catacomb San Ponziano, yr hwn a welir ar y tudalen blaenorol, wedi cael ei liwio yn y bummed neu y chweched ganrif. Ceir y darlun a'r fedyddfa o dano gyda'u gilydd yn nechreu y gyfrol hon o flaen y wyneb-ddalen. (Gwel *Dr. Cote's Arch. of Baptism*, pp. 31—33. 151—153.; *Ford's Studies on Baptism*, pp. 292—295.)

Dywed Bede fod Paulinus yn bedyddio yn y chweched ganrif, yn Lloegr, yn yr afon Swale, gan nad oedd un addoldy na bedyddfa eto wedi eu darparu.§ Yr oedd y Pab Gregory I., yr hwn a anfonodd Paulinus, yn dysgu tri throchiad. Tua diwedd yr wythfed ganrif, cyhoeddodd y Pab Clement y ddeddf hon:—"Os bydd i unrhyw esgob neu bresbyter fedyddio heblaw trwy dri throchiad (*immersionem*), diswydder ef." Yn fuan wedi hyny, dywedai y Pab Zacharias, na ddylid ystyried fod yr hwn a drochid (*mersus*) heb alw ar y Drindod, wedi derbyn sacrament yr ailenedigaeth. Yn ysgrifeniadau Alcuin, yr hwn a anwyd yn York, 735, ac a ddysgwyd yno gan yr Esgob Egbert, cyfeirir at y tri throchiad (*demersus*) fel yn arwyddo y

---

* "Homo in aquâ demissus, et inter pauca verba tinctus."—(*Tertullian, De Bap. c.* 2.)

† "Pectoribus lotis."—(*Prudentius.*)

‡ "Ter caput mergitare."—(*Jerome.*)

§ Cawn yn ngweithiau Taliesin, yr hwn a flodeuodd yn y chweched ganrif, brofion mai bedydd trwy drochiad oedd yn mhlith y Cymry yn yr oesoedd boreuol; cyfeiria at fedydd yn y geiriau hyn:—

"Pan ydoedd yr Rhên
Hyd *tros y ddwyen*
Yn nwfr Iorddonen."

"Iôr nef a daear,
Gwel y rhai hygar
A fu yn ddiweddar,
*Dan yr elfen.*"

"Gwae a gymmerth fedydd,
A chred a chrefydd,
Onis tystia."

"Pob peth a dderfydd,
Ond cred a bedydd."

Sylwer ei fod yn cyssylltu "cred â bedydd," ac yn son am Fab Duw wedi "*bod dros y ddwy ên yn yr Iorddonen*," a'r rhai a fedyddiwyd yn ei amser ef wedi bod "*yn ddiweddar dan yr elfen.*"

claddedigaeth am dridiau. "Ac felly," (eb efe mewn lle arall,) "yn enw'r Drindod, bedyddier ef trwy dri throchiad" *(submersione)*.

Rhydd y darlun canlynol rhyw feddylddrych i ni am weinyddiad bedydd yn y xiv canrif. Tynwyd ef gan John Rouse, hynafiaethydd

BEDYDD YN LLOEGR YN XIV. CANRIF.



BEDYDD RICHARD, IARLL WARWICK, YN Y FLWYDDYN 1381.

enwog yn swydd Warwick, a'r hwn a fu farw Ionawr 14eg, 1491. Tadau bedydd y boneddwr ieuanc oedd y brenin Richard II., a Richard Scrope, Esgob Lichfield, ar ol hyny Archesgob York.

(Gwel *Robinson's History of Baptism*, pp. 126, 127. *Dr. Cote's Arch. of Baptism*, pp. 230, 231.)

Dywed Dr. Wall, fod ysgrifau Wickliff, (tua'r flwyddyn 1370, A.D.) yn dangos mai trochiad ydoedd yr arferiad cyffredin yn Lloegr yn ei ddyddiau ef, ac na arferid yr un dull arall oddi eithr pan y byddai perygl i un farw. "A threfnodd yr eglwys (ebe Wickliff) mewn achos o anghenrheidrwydd, y gall un a dderbyniodd fedydd weinyddu bedydd; ac nid yw o bwys pa un a drochir hwynt unwaith ai teirgwaith, ai ynte y tywelltir dwfr ar eu penau," &c. "Nid ydyw y fath eiriau (ebe Dr. Wall) yn tybied unrhyw ddull arall heblaw trochiad yn *cael ei arfer yn gyffredin*, ond yn unig mewn amgylchiad o anghenrheidrwydd, rhag ofn i'r baban farw." (*Dr. Wall's Hist. of Infant Baptism, vol.* ii. p. 397.)

Trwy drochiad y bedyddiwyd y tywysog Arthur, mab Harri VII, a'r un modd y bedyddiwyd Edward VI, a'r frenines Elizabeth. (*Baptist Magazine, August*, 1860.)

"Yr oedd y ffurfwasanaeth (*liturgy*) am fedydd cyhoeddus yn Eglwys Loegr bob amser, (ebe Dr. Wall) mor bell ag y gallaf ddeall, yn dysgu trochi, heb unrhyw grybwylliad am dywalltiad neu daenelliad. Mae y *Manuale ad usum Sarum*, yr hwn a argraffwyd yn 1530, yr unfed flwyddyn ar hugain i Harri VIII, yn gorchymyn fel hyn am y bedyddiadau cyhoeddus:—'Yna yr offeiriad a gymmer y plentyn, ac ar ol gofyn ei enw, a'i bedyddia trwy ei drochi yn y dwfr deirgwaith,' &c. A John Frith, yr hwn a ysgrifenodd Draethawd ar Fedydd, yn 1533, a eilw y rhan allanol o hono, y 'suddiad i lawr yn y dwfr, a'r cyfodiad i fyny drachefn.' Crybwylla hyn yn fynych, heb grybwyll byth am dywalltiad neu daenelliad."

"Yn y Llyfr Gweddi Cyffredin a argraffwyd yn 1549, saif y rheol fel hyn:—'Efe a'i trocha yn y dwfr deirgwaith;' ond ychwanega y rheol hon, 'ac os bydd y plentyn yn wan, bydd tywallt dwfr arno yn ddigon.' Ar ol hyn, mae y llyfrau yn gadael allan y gair *teirgwaith*, ac yn dweyd, 'efe a'i trocha yn y dwfr.' Gwnaed y cyfnewidiad hwn, yr wyf yn tybied, yn y chweched flwyddyn i Edward VI, oblegyd fe gyhoeddwyd argraffiad newydd o'r llyfr y pryd hyny gyda rhai cyfnewidiadau; ac o'r pryd hwnw fe barhaodd yn ddigyfnewid gyda golwg ar y mater hwn hyd y bedwaredd flwyddyn ar ddeg i Charles II."

"Ac ymddengys fod yr arferiad o drochi yn parhau yn amser y frenines Mari; oblegyd fe gyhoeddodd Watson, Esgob Pabaidd Lincoln, gyfrol o bregethau yn nghylch y sacramentau yn 1558, y flwyddyn olaf o deyrnasiad y frenines Mari, yn y bedwaredd o ba rai y dywed:—'Er fod hen draddodiad yr eglwys o'r dechreuad yn gofyn trochi y plentyn deirgwaith, &c., eto nid ydyw hyny o'r fath bwys, ond os bydd iddo gael ei drochi ond unwaith yn y dwfr, y mae'n ddigon. Ië, ac *mewn amser o berygl ac anghenrheidrwydd mawr*, os na wneir ond tywallt y dwfr ar ei ben, fe fydd yn ddigon." "Arwydd," (ebe Dr. Wall,) "nad arferid tywalltiad yn amser y

frenines Mari ond mewn amgylchiad o anghenrheidrwydd." (*Wall's History, vol.* ii. pp. 397—399.)

"Y *drefn* arferol i weinyddu bedydd," (ebe yr hanesydd Pabaidd Lingard,) "oedd trwy drochiad; yr *amser*, prydnawn dydd y Pasc a'r Sulgwyn; y *lle* oedd y bedyddfa—adeilad bychan yn ymyl yr eglwys, yn yr hwn y darparwyd ymdrochle (*bath*) cyfleus a elwid bedyddfa *(font)*. Pan yr ewyllysiai dyn mewn oed gael ei fedyddio, gelwid arno i broffesu ei grediniaeth yn y gwir Dduw, drwy adrodd gweddi'r Arglwydd a chredo'r apostolion; ac i fynegi ei fwriad o arwain bywyd duwiol, gan ymwrthod deirgwaith â'r diafol, ei weithredoedd, a'i rwysg. Yna disgynai i'r bedyddfa; gogwyddai yr offeiriad ei ben deirgwaith islaw wyneb y dwfr, gan ddywedyd, 'Yr ydwyf yn dy fedyddio di yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân.'"

"Wrth fedyddio plant, cedwid yr un defodau, gydag ychydig o gyfnewidiadau anghenrheidiol. Disgynai yr offeiriad ei hun i'r dwfr, yr hwn oedd mor ddwfn a'i liniau. Dodid y naill blentyn ar ol y llall yn noeth yn ei ddwylaw, ac efe a'i trochai deirgwaith i'r dwfr, gan adrodd y geiriau cyfriniol, ac yna a'i hadferai i'w feichiafon. Y cyfryw oedd y rheolau eglwysig gyda golwg ar weinyddiad bedydd." (*J. Lingard, History and Antiquities of the Anglo-Saxon Church, vol.* i. p. 317.)

Darfu i'r Cynghorau Eglwysig canlynol yn Lloegr gyhoeddi penderfyniadau yn gorchymyn trochiad:—

Cynghor Calchuth, A.D. 816.
" Llundain, A.D. 1200.
" Salisbury, A.D. 1217.
" Worcester, A.D. 1224.
" Exeter, A.D. 1287.
" Worcester, A.D. 1306.

Noda Dr. Wall ddau reswm dros ddyfodiad taenelliad i arferiad cyffredin yn Lloegr, o deyrnasiad Elizabeth yn mlaen:—

1. *Rhyddid y Ffurfwasanaeth (Liturgy).* Gan y caniateid i blant gweiniaid, (er yn ddigon cryf i gael eu dwyn i'r eglwys,) gael eu bedyddio trwy dywalltiad, darfu i'r boneddigesau yn y lle cyntaf, ac wedi hyny y bobl gyffredin, dderbyn ffafr yr offeiriad i'w plant gael eu cyfrif fel rhai gweiniaid, rhy dyner i allu goddef eu trochi; yn neillduol os gellid meddwl am ryw engraifft, wirioneddol neu ddych'mygol, o blentyn wedi cael anwyd wrth ei drochi.

2. *Dylanwad Calfin ar y Duwinyddion Seis'nig ac Ysgotaidd, y rhai a ffoisent i'r Cyfandir yn amser y frenines Mari, ac a ddychwelasant yn amser y frenines Elizabeth.* Ar eu dychweliad, yr oedd ganddynt barch mawr i arferion y gwledydd lle yr oeddynt wedi cael nodded, ac yn neillduol i awdurdod Calfin, a'r rheolau a sefydlodd efe yn

Geneva. Yr oedd Calfin wedi rhoddi ei farn yn ei *Institutions*, nad oedd gwahaniaeth pa un ai unwaith ai teirgwaith y trochid yr ymgeisydd, ai pa un ai tywallt dwfr arno a wneid. Tynodd hefyd gyfarwyddyd i'r eglwys yn Geneva i weinyddu y sacramentau, yn yr hwn y dysga i'r gweinidog dywallt dwfr ar ben y baban—*y ffurfwasanaeth cyntaf yn y byd*, (ebe Dr. Wall) *ag sydd yn gofyn taenellu yn unig*. Yr oedd parch y ffoedigion Seis'nig i awdurdod Calfin y fath, fel y darfu iddynt hwythau ei efelychu trwy arfer taenelliad ar ol dychwelyd, fel yr aeth yr arferiad o drochi yn llai yn nyddiau olaf Elizabeth, a lleihau yn raddol a wnaeth, hyd nes yr esgeuluswyd ef yn gyffredinol yn Eglwys Loegr a'i changhenau. (*Dr. Wall's History of Infant Baptism, vol.* ii. pp. 399, 400. *vol.* iv. p. 170. *Dr. Cutting's Historical Vindications*, p. 79. *Edinburgh Encyclopædia, Art. Baptism. Isaac Taylor Hinton on Baptism, chap.* vi. *Sect.* vi.)

Mae un rheswm arall hefyd i'w roddi dros ddyfodiad taenelliad i arferiad cyffredin yn y deyrnas hon, sef, *Penderfyniad Cymmanfa Dduwinyddol Westminster, Llundain*. Cyfarfyddodd y Gymmanfa hon, yn ol deddf seneddol, Gorphenaf 1af, 1643, "i'r dyben i ddiwygio crefydd mewn athrawiaeth, addoliad, dysgyblaeth, a llywodraeth." Gwneid hi i fyny o gant ac un ar hugain o dduwinyddion, deg ar hugain o leygwyr, deg o ba rai oeddynt arglwyddi. Yn y Gymmanfa hon, llwyddodd Dr. Lightfoot i sefydlu taenelliad yn lle trochiad. Penderfynid ynddi byneiau trwy bleidlais. Pan y daeth y Gymmanfa i bleidleisio, pa un a safai gwasanaeth bedydd yn y cyfeirlyfr (*Directory*) fel hyn:—"Y gweinidog a gymmer ddwfr, ac a'i *taenella* neu a'i *tywallta* â'i law ar wyneb neu dalcen y plentyn,"—yr oedd rhai yn anfoddlon i gau allan *drochiad*. Pan ranwyd y Gymmanfa, yr oedd pedwar ar hugain dros *drochiad*, a phump ar hugain dros *daenelliad*—mwy o un dros daenelliad, A THRWY DDYLANWAD MAWR A CHYMHELLIAD TAER DR. LIGHTFOOT Y CAFWYD Y MWYAFRIF O UN! (*Edinburgh Encyclopædia: I. Taylor Hinton on Baptism, chap.* vi. *Sect.* vi. *Robinson's History of Baptism*, pp. 450, 451.)

Fel hyn, trwy gyfnewidiad yn llyfr gwasanaeth yr eglwys—trwy ddylanwad Calfin ar y ffoedigion yn amser erlidigaeth, a'u hymlyniad wrth ei drefniadau ef ar ol dychwelyd—a thrwy ddylanwad Cymmanfa Dduwinyddol Westminster, fe ddiddymwyd yr hen arferiad o drochi yn Lloegr, oddi eithr yn mhlith y Bedyddwyr, y rhai a ymwrthodant âg awdurdod dynion i sefydlu ordinhadau crefyddol, ac a lynant wrth air Crist.

Os trown i'r Cyfandir, mae hanes bedydd yn debyg yno i'r hyn ydoedd yn Lloegr. Dywed Dr. Wall mai Ffrainc oedd y wlad gyntaf yn y byd i weinyddu bedydd trwy dywalltiad i ddynion

mewn iechyd, fel y dywed Bonaventure (O.C. 1155,) fod llawer o eglwysi Ffrainc yn arfer taenelliad yn ei amser ef, "ond mai y ffordd o drochi i'r dwfr oedd y fwyaf cyffredin, a'r fwyaf gweddus a diogel." Yn yr un ganrif, trochiad oedd fwyaf cyffredinol yn Itali, er yr arferid tywallt yn fynych. Yn 1275, sonia Cynghor Angiers am drochi neu dywallt, fel yn gydwerth. Yn 1585, caniatâi Cynghor Aix, drochiad neu dywalltiad, yn ol arferiad yr eglwys; ond os tywallt a wneid, nad oedd y dwfr i gael ei dywallt â llaw, ond â modbren (*ladle*), yr hon a gedwid wrth y ffynnon i hyny!

O Ffrainc lledaenodd yr arferiad o daenellu i Itali, Germani, Yspaen, &c., ac yn ddiweddaf oll i Loegr. Yn Germani, sonia Walafridus Strabo, yn y flwyddyn 850, a Rupertus, yn 1120, am fedydd yn cael ei weinyddu trwy drochiad, ac na arferid taenellu ond mewn amgylchiadau o afiechyd. Yn Ngynghor Cologne, yn 1536, sonir am drochiad deirgwaith, neu daenelliad, fel pethau cydbwys.

Fel yna, yn raddol, y syrthiodd yr hen arferiad o drochi ymaith yn yr eglwys Babaidd, ac yn y gwledydd lle y cydnabyddwyd unwaith awdurdod y Pab. Mae'n wir fod awdurdod y Pab wedi darfod yn Lloegr pan y cyfododd taenelliad i arferiad cyffredinol ynddi, eto nid yw ei dadogaeth fawr amgenach. Darfu i'r alltudiedigion Ysgotaidd a Seis'nig yn amser Mari, y rhai a wrthodasent awdurdod y Pab, ymostwng yn ewyllysgar i awdurdod Calfin; ac wedi dychwelyd i'w gwlad, gyda Knox ar y blaen, sefydlasant daenelliad yn Ysgotland, o'r lle y gweithiodd ei ffordd i Loegr. Y gwahaniaeth yw, fod Prydain Fawr wedi cael taenelliad oddiwrth Calfin, a'r Cyfandir oddiwrth y Pab!

## IV. Bedydd yn Eglwys Groeg, a'r Eglwysi Dwyreiniol.

Gall Eglwys Groeg hòni mwy o hynafiaeth na'r Eglwys Babaidd, oblegyd yn Mhalestina ac Asia Leiaf, gwledydd o fewn terfynau Eglwys Groeg, y pregethwyd yr efengyl gyntaf. Dechreuodd ymrafaelion gymmeryd lle rhyngddi a'r Eglwys Orllewinol yn y flwyddyn 197, A.D., o barthed i amseriad y Pasc. Hauodd y ddadl yma hadau annghydfod, nes ysgaru yr Eglwys Ddwyreiniol a'r Eglwys Orllewinol oddiwrth eu gilydd. Wedi symmud eisteddle yr ymerodraeth o Rufain i Gaercystenyn, dechreuodd ymrysonfa arall rhwng y ddwy eglwys yn y bedwaredd ganrif, sef, pa un ai Esgob Rhufain ai Esgob Caercystenyn a fyddai fwyaf. Bu amryw ymrysonau rhyngddynt hyd yr unfed ganrif ar ddeg, pryd y llwyr ymranasant, trwy i genadon y Pab Leo IX, ar yr 16eg o Orphenaf, 1054, ysgymmuno Michael Cerularius, Patriarch Caercystenyn. Er hyny

hyd yn awr, gwnaed llawer cynnyg i uno y ddwy eglwys â'u gilydd, ond hyd yma yn aflwyddiannus. Bernir fod dysgyblion Eglwys Groeg, yn ei gwahanol ganghenau, yn rhifo fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Yn Rwssia | 50,000,000 |
| Yn Twrci | 12,000,000 |
| Yn Groeg | 800,000 |
| Yn Awstria | 2,800,000 |
| Patriarchaeth Alexandria | 5,000 |
| Patriarchaeth Antiochia | 150,000 |
| Patriarchaeth Jerusalem | 15,000 |
| | 65,770,000 |

Mae yr eglwys hon, gan mwyaf, yn defnyddio yr Ysgrythyrau yn yr iaith Roeg; yn hon yr ysgrifenir ei gweithiau awdurol, gan mwyaf, ac yn hon yr arllwysai Chrysostom, Basil Fawr, Theophylact, ac ereill, ryferthwy eu hyawdledd. Gŵyr y darllenydd, ond odid, fod Eglwys Groeg yn arfer *bedyddio trwy drochiad;* wedi ei hymraniad oddiwrth Eglwys y Gorllewin, fe gadwodd hi at yr arferiad o fedyddio trwy drochiad fel cynt, ac ni newidiodd y dull trwy draddodiad fel y Pabyddion.

"Mae Eglwys Groeg," ebe Dr. Wall, "yn ei holl ganghenau, o hyd yn arfer trochiad; a phrin yr ystyriant blentyn, oddi eithr yn yr amgylchiad o afiechyd, wedi ei fedyddio yn iawn hebddo; ac felly mae'r holl Gristionogion ereill drwy'r byd, oddi eithr y Lladinwyr ..........Mae holl Gristionogion y byd, y rhai na chydnabyddasant erioed allu trawsarglwyddiaethol y Pab, yn trochi, ac yr oeddynt erioed yn trochi eu babanod, yn ol yr arferiad cyffredinol." (*Dr. Wall's Hist. of Inf. Baptism, vol.* ii. p. 414.)

Goleuadau dysglaer Eglwys Groeg oedd Cyril, Basil Fawr, Chrysostom, Gregory Nazianzus, &c., ac y mae eu hysgrifau hwy yn dangos beth oedd arferiad Eglwys Groeg *gynt.* Gan ein bod wedi dyfynu o amryw o'r awdwyr hyn yn nechreu y bennod hon, nid oes eisieu cyfeirio yn mhellach atynt yn awr.

Mewn oes diweddarach, cawn *Theophylact,* Archesgob Acris, yn Bulgaria, yn y flwyddyn 1070, A.D., yn gwneyd cyfeiriadau mynych at fedydd. Efe oedd yr enwocaf yn ei oes, mewn cyssylltiad âg Eglwys Groeg, ac fe gyfansoddodd Esboniad gwerthfawr ar y Prophwydi Bychain, ac ar y Testament Newydd. Yn ei esboniad ar Nahum i. dywed:—

"Canys am un bedydd y sonir, ac am un ffydd, oblegyd fod yr athrawiaeth am y cyssegriad yr un yn yr holl eglwys, yr hon a ddysgwyd i fedyddio gan alw ar y Drindod, ac i arddangos marwolaeth ac adgyfodiad yr Arglwydd drwy y suddiad i lawr deirgwaith a chyfodiad i fyny drachefn," *(tê trissê katadusei kai anadusei.)*

Yn ei esboniad ar 1 Cor. ix. 2. wrth sylwi fod y tadau wedi cael "eu bedyddio i Moses yn y cwmmwl ac yn y môr," dywed:—"Hyny yw, cyfranogasant gyda Moses, y cysgod o dan y cwmmwl, a'r fynedfa drwy y môr; oblegyd wrth ei weled ef yn myned trwodd yn gyntaf, y maent hwythau yn gwynebu y dyfroedd. Felly hefyd yn ein hamgylchiad ninnau; Crist sydd wedi marw a chyfodi yn mlaenaf, ac yr ydym ninnau yn cael ein bedyddio, gan efelychu marwolaeth drwy y suddiad i lawr (*kataduseôs*), ac adgyfodiad drwy yr ymddadsuddiad," (*anaduseôs.*)

Yn y llyfr a elwir "EUCHOLOGION, neu *Ddefodlyfr Eglwys Groeg*," yr ydym yn cael hanes pa fodd y gweinyddir bedydd yn mhlith deiliaid Eglwys Groeg yn bresennol. Ar ol cyflawni y defodau rhagarweiniol,—

"Pan y bydd yr holl gorph wedi cael ei enneinio, yr offeiriad a'i bedyddia ef; a chan ei ddal i fyny yn syth, ac edrych tua'r Dwyrain, a ddywed:—'Mae gwas Duw (*gan ddweyd ei enw*) yn cael ei fedyddio, yn enw'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân; yn awr ac am byth, ac am yn oes oesoedd. Amen.'

"Gan ei ddwyn i lawr, (*katagôn*) a'i godi i fyny (*anagôn*) bob tro y dywedir enw Duw. Ac ar ol y trochiad (*baptisin*), golcha (*niptetai*) yr offeiriad ei ddwylaw, gan ganu gyda'r bobl, 'Gwyn fyd y rhai y maddeuwyd eu pechod,' &c." (*Robinson's Hist. of Baptism*, p. 65. *Conant's Meaning and Use of Baptizein*, p. 89.)

Yn mhlith pethau ereill ag sydd yn rhwystr i undeb gymmeryd lle rhwng Eglwys Groeg ac Eglwys Rhufain, mae taenelliad; gwawdia Cristionogion y Dwyrain y Pabyddion, gan eu galw, "Cristionogion taenelledig." Yn y flwyddyn 1439, gwnaed ymdrech i uno y ddwy eglwys yn un. Defnyddiai y Pab Eugene IV. wobrwyon, bygythion, ac addewidion, er cael gan y Groegiaid gydymffurfio â'i delerau ef i ddyfod i undeb â'r Eglwys Babaidd; ond bu'r cyfan yn ofer. Gwrthwynebai Marc o Ephesus yr undeb; daliai allan yr anmhossiblrwydd iddo gymmeryd lle, o flaen y Cynghor ac mewn cylchlythyr a anfonodd at esgobion ac eglwysi y Groegiaid, gan ddadlu yn mhlith pethau ereill, fod bedydd y Pabyddion yn hollol wahanol i fedydd y Groegiaid. (*Duncan's Hist. of the Baptists*, p. 137.)

Mae Eglwys Groeg, yn y llyfr Groeg a elwir "TO PEDALION," (yr hwn a gyfieithwyd i'r Saesonaeg rai blynyddau yn ol, gan y Parch. Mr. Love, o'r Unol Daleithiau,) cyfrol *folio*, o 484 o dudalenau, safon Eglwys Groeg yn nghylch ffydd, ymarferiad, a llywodraeth, a'r hwn a awdurdodwyd gan y patriarch a'r gynghorfa eglwysig, yn tystio yn hyglyw yn erbyn bedydd yr Eglwys Babaidd. Ystyria yr awdwr fod yr erthygl ar fedydd "yn dra phwysig ar yr amser presennol, o herwydd y gwahaniaeth sydd rhwng Eglwys Groeg,

nid yn unig a'r Eglwys Babaidd, ond hefyd rhyngddi a phawb ereill, y rhai fel y Pabyddion, sydd yn arfer taenellu."

"Yr ydym yn dweyd," (ebe'r awdwr,) "fod bedydd y Pabyddion yn beth a *gamenwir yn fedydd.*" "Mae y Pabyddion yn hen hereticiaid, yn enwedig o herwydd eu bod yn anfedyddiedig" (*abaptistoi*). "Pabyddion yn yr amser gynt, y rhai cyntaf i gyfnewid y bedydd apostolaidd, a arferent dywalltiad (*epichusin*), hyny yw, tywalltent ychydig ddwfr ar goryn y plentyn."

"Sylwch, nid ydym ni yn dweyd ein bod yn *ail fedyddio* (*anabaptizomen*) y Pabyddion, ond ein bod yn eu BEDYDDIO (*baptizomen*) hwynt, oblegyd y mae eu bedydd (*baptisma*) yn gelwydd hyd y nod yn ei enw. Nid *bedydd* ydyw mewn un modd, ond taenelliad (*rantisma*) yn unig." (*Duncan's History of the Baptists*, p. 200.)

Aelod arall o Eglwys Groeg, (Alex. de Stourdza,) mewn cyfrol a gyhoeddodd yn 1816, yn y Ffrancaeg, yr hon a elwir, "Ystyriaethau ar Athrawiaeth ac Ysbryd yr Eglwys Uniongred," a ddywed fel y canlyn:—

"Nodwedd wahaniaethol y sefydliad o fedydd, gan hyny, yw trochiad—*baptisma*—yr hyn na ellir ei hebgor heb ddinystrio ystyr arwyddluniol y sacrament, a gwrthddweyd, ar yr un pryd, arwyddocâd tarddeiriol y gair, yr hwn a ddefnyddir i'w osod allan. Mae yr Eglwys Orllewinol (Babaidd), gan hyny, wedi ymadael oddiwrth efelychu Iesu Grist; y mae wedi achosi i holl arucheledd yr arwydd allanol i ddiflanu; mewn gair, y mae yn euog o gamddefnyddio geiriau a meddylddrychau wrth arfer *bedydd trwy dywalltiad;* y dadganiad o'r hyn yn unig sydd yn wrthddywediad dirmygus. Y ffaith yw, nid oes i'r ferf baptizo—*immergo*—ond un arwyddocâd. Y mae yn llythyrenol a gwastadol yn golygu trochi *(to plunge)*. Mae bedydd a throchiad, gan hyny, yn gyfystyr; ac y mae son am *fedydd trwy daenelliad*, yr un peth a phe dywedai rhyw un *trochiad trwy daenelliad.*" (*Baptismal Tracts for the Times*, pp. 62, 63. *Robinson's Hist. of Baptism*, p. 511.)

Eglur yw, ynte, 1. Mai trochiad yw bedydd Eglwys Groeg.

2. Na fu yn arfer yr un bedydd arall erioed, ond ei bod yn wastadol yn trochi ei dysgyblion.

3. Fod syrthiad Eglwys Rhufain oddiwrth yr arferiad cyntefig o drochi, yn un o'r rhwystrau annorchfygol sydd yn attal ail uniad y ddwy eglwys fel cynt.

Dadleuir, modd bynag, fod Eglwys Groeg yn cydnabod fod taenelliad Cristionogion ereill yn fedydd, trwy ei bod yn eu derbyn

i'w chyfundeb heb eu hail fedyddio. Nid yw y ffeithiau, modd bynag, yn attegu y fath haeriad, ond yn profi yn amgen.

1. Profwyd yn barod fod awduron Groegaidd yn collfarnu taenelliad.

2. Yn y *Freeman*, am Ebrill 2il, 1875, ceir y dystiolaeth ganlynol:—"Deallwn trwy y Parch. Mr. Doyen, Cenadwr dychweledig o Japan, fod Cymdeithas Eglwys Loegr, yr hon a gynnrychiolir yn Yeddo, (prif-ddinas Japan,) gan y Parchedigion Wright a Jameson, wedi gorchymyn fod yr holl ddychweledigion a ymunant â'r cyfundeb o hyn allan i gael eu *bedyddio trwy drochiad.* Fe fabwysiadodd y Cyfeisteddfod y penderfyniad oddiar yr ystyriaeth fod *Eglwys Groeg*, yr hon sydd yn awr yn llafurio yn dra llwyddiannus yn Japan, *yn gwrthod cydnabod taenelliad yn fedydd.*"

3. Pan anfonodd y Pab Pius IX, yn fuan ar ol ei ddyrchafiad i'r gadair Babaidd, Gylchlythyr at Gristionogion y Dwyrain i'w gwahodd i ddychwelyd i'r ffydd Babaidd, gwysiodd Patriarch Caercystenyn Gynghor, yn yr hwn y mabwysiadwyd Cylchlythyr, yr hwn a argraffwyd yn yr iaith Roeg yn Corfu, yn 1848. Yn y Cylchlythyr yna, desgrifir arferiad Eglwys Rhufain fel "gwyriad oddiwrth y ffurf apostolaidd," ac yn "osod taenelliad yn lle bedydd," ac yn "ddiddymiad o'r bedydd a ymddiriedodd yr Arglwydd i'w eglwys;" ac, fel cynt, safai taenelliad eto yn un o'r rhwystrau ar ffordd undeb rhwng y ddwy eglwys.

4. *Yn y ganghen Rwssiaidd o Eglwys Groeg, ac yn hòno yn unig, fe dderbynir aelodau o eglwysi ereill heb eu bedyddio.* Gwrthoda Eglwys Groeg, yn yr ystyr briodol, bawb yn ddiwahaniaeth, oddi eithr iddynt gael eu bedyddio trwy drochiad. Cawn engraifft o hyn yn yr hanesyn canlynol:—Ar yr 8fed o Hydref, 1851, gwrthododd Patriarch Caercystenyn dderbyn i Eglwys Groeg y Parch. William Palmer, offeiriad o Eglwys Loegr, a brawd i Arglwydd Selborne, oddi eithr iddo gymmeryd ei fedyddio trwy drochiad. Ni chydsyniai Mr. Palmer â hyn, ac ymunodd â'r Eglwys Babaidd. Mae y ganghen Rwssiaidd o Eglwys Groeg, modd bynag, tra yn derbyn dychweledigion o gyfundebau ereill heb eu hail fedyddio, yn hollol gaeth yn ei hymlyniad wrth ei harferiad ei hun o fedyddio trwy drochiad. Gwel lythyr tra gwerthfawr a dyddorol Dr. Arnold, America, yr hwn a fuasai yn Genadwr am lawer o flynyddoedd yn ngwlad Groeg, yn y *Freeman, December 7th,* 1866. Ysgrifenwyd y llythyr mewn atebiad i appeliad oddiwrth Dr. Cramp, Nova Scotia, am oleuni ar y pwynt mewn dadl.

Cyn terfynu y bennod hon, gellir nodi yn mhellach, fod amryw eglwysi ereill yn y Dwyrain, y rhai a arferant drochiad.*

## Y Nestoriaid.

Gelwir hwy ar yr enw hwn oddiwrth Nestor, Patriarch yn Nghaercystenyn, yr hwn a ymadawodd âg Eglwys Groeg yn y bummed ganrif. Desgrifir eu gwasanaeth bedydd fel y canlyn:—

"A yr ymgeisydd i lawr i'r bedyddfa, yr hon a alwant Iorddonen, lle y darllena yr offeiriad wersi a gweddiau, ar ol yr hyn y gollyngir y gwrandawyr ymaith, y cauir y drysau, ac yr adrodda yr ymgeisydd y credo Nicenaidd. Wedi hyny, bendithir yr olew a dwfr y bedydd, ar ol yr hyn yr enneinia y diacon yr ymgeisydd drosto, ac yna arweinia ef at yr offeiriad, yr hwn, gan sefyll ar yr ochr Orllewinol i'r Iorddonen, a dry wyneb yr ymgeisydd tua'r Dwyrain, a chan roddi ei law ar ei ben, a'i trocha yn y dwfr *(in aquam immergit)* y tro cyntaf, gan ddywedyd,—*Y cyfryw un, gwas i Dduw, a fedyddir yn enw'r Tad*, a'r gynnulleidfa a etyb, *Amen;* yna doda ef i lawr yr ail waith, gan ddywedyd, *A'r Mab*, y bobl yn ateb fel o'r blaen, *Amen;* yna y drydedd waith, gan ddywedyd, *A'r Ysbryd Glân*,———*Amen*. Gwisgir am dano wed'yn, ac arweinia y diacon ef allan o'r bedyddfa, ac a'i trosglwydda i'w gyfeillion."†

## Yr Armeniaid.

Bedyddia y rhai hyn trwy drochiad. Dodant y plentyn yn y dwfr; yna codant ddwfr ar ei ben; yna offrymir gweddi; wedi hyny bedyddir y plentyn trwy ei drochi deirgwaith. Dywed y Cenadon Smith a Dwight, y rhai oeddynt gyfarwydd âg arferion yr Armeniaid, fod eu credo yn gofyn i fedydd gael ei weinyddu drwy drochi yr holl gorph deirgwaith yn y dwfr. (*Hinton on Baptism*, p. 175. *Eadie's Eccles. Cyclopædia, Art. Armenian Church.*)

Gellir dweyd yr un peth am yr Abyssiniaid, y Georgiaid, &c., sef eu bod yn arfer bedyddio trwy drochiad, yr hyn sydd yn gwireddu nodiad Dr. Wall, sef fod holl Gristionogion y byd, y rhai na chydnabyddasant awdurdod y Pab, yn bedyddio trwy drochiad.‡ (*Hist. of Inf. Baptism, vol.* ii. pp. 414, 415.)

---

*"In baptism, most of the Oriental rubrics prescribe immersion, thrice repeated." (*The Greek and Eastern Churches*, p. 86. *R. T., S.*)

† Assemani, *tom.* iii. p. ii. *chap.* vii. *s.* 9. *Robinson's Hist. of Baptism*, p. 486.

‡ Dywed rhai ysgrifenwyr *fod taenelliad a throchiad yn cael eu huno yn medydd rhai o'r cyfundebau hyn.* Tystia Dr. Arnold, yn y llythyr y cyfeiriwyd ato eisioes, fod yn rhaid mai camgymmeriad yw y fath haeriadau o eiddo ymwelwyr â'r gwahanol eglwysi, ac ereill, *trwy ystyried un neu arall o'r gwahanol ddefodau lliosog cydfynedol â bedydd, fel rhan o'r bedydd ei hun.* Hawdd y gallai dyeithriaid ar ymweliad â'u haddoldai, o herwydd anwybodaeth o'u hieithoedd a'u defodau lliosog ac amrywiol, syrthio i'r fath gamgymmeriad.

Wrth ysgrifenu fel hyn am Eglwys Groeg, a'r Eglwysi Dwyreiniol, nid ydym, wrth gwrs, yn amddiffyn y defodau plentynaidd a arferir mewn cyssylltiad â bedydd; y maent wedi llithio oddiwrth y gwirionedd yn mhwnc y deiliaid hefyd, ac yn eu gwaith yn trochi *deirgwaith.* Yr hyn a ddywedwn yw, *Fod y Groegiaid yn deall eu hiaith eu hunain—fod baptizo yn ol eu barn unfrydol hwy trwy yr oesau yn golygu trochi—fod yr ystyriaeth o hyn, yn nghyda'r ffaith eu bod yn arfer trochiad o'r dechreuad hyd yr awr hon, yn un prawf grymus mai trwy drochiad y mae gweinyddu bedydd yr efengyl.*

## Nodiadau Diweddol ar Gynnwysiad y Bennod Flaenorol.

1. *Fe welir na wyddai ysgrifenwyr yr Eglwys Gyntefig am un bedydd ond bedydd trwy drochiad.*

Cymharant ef i gladdedigaeth, ac edrychant arno fel delweddiad o'r adgyfodiad. Desgrifiant ef fel mynediad i lawr i'r dwfr, claddiad o dan y dwfr, ac ymddadsuddiad o hono. Tua chanol y drydedd ganrif, pan y gosodwyd yr ordinhadau yn lle Crist a'i waed yn nhrefn achub, y rhyfygwyd gyntaf i newid y dull yn amgylchiad y cleifion.

2. *Gwnaed ychwanegiadau diawdurdod yn foreu at yr ordinhad.*

Yn mhlith y rhai hyn, gellir nodi yr arferiad o drochi deirgwaith, ac o fedyddio yn noeth. Dechreuodd y tri throchiad mewn un bedydd, mae'n debygol, yn amser y dadleuon ar y Drindod, ac er gosod allan dri diwrnod arosiad Crist yn y bedd; a bedyddid yn noeth, er gosod allan noethder Crist yn dyoddef ar y groes, ac er delweddu yn fwy effeithiol, yn eu tyb hwy, ddiosgiad ymaith yr hen ddyn a'i weithredoedd. "Gorchymynodd ein Gwaredwr i'r apostolion (ebe Tertullian), fedyddio i'r Tad, ac i'r Mab, ac i'r Ysbryd Glân; nid i un person, oblegyd nid unwaith y tansuddir ni, ond teirgwaith; unwaith wrth ddadgan pob enw." "Y mae bedydd yn arwyddlun o gladdedigaeth Crist (ebe John o Damascus, canrif vii.); oblegyd trwy dri throchiad, y mae bedydd yn arddangos y tri diwrnod o gladdedigaeth yr Arglwydd." (*Dr. Cox on Baptism*, p. 48.) "Yr oeddynt yn meddwl fod bedyddio yn noeth (ebe Dr. Wall,) yn arddangos yn well roddiad ymaith yr hen ddyn, a noethni Crist ar y groes."

Ond er eu bod yn bedyddio yn noeth, yr oeddynt yn arfer y gwyleidd-dra mwyaf, yn enwedig wrth fedyddio menywod. "Nid oedd neb ond gwragedd yn dyfod yn agos neu i'r golwg, hyd nes y byddai (y fenyw) wedi ymddiosg, a'i chorph yn y dwfr; yna deuai

y gweinidog yn mlaen, a chan ddweyd ffurfeiriadaeth bedydd, efe a roddai ei phen o dan y dwfr. Yna efe a ymadawai, a chymmerai y gwragedd hi allan o'r dwfr, a gwisgent hi drachefn mewn dillad gwynion." (*Dr. Wall's Hist. of Inf. Baptism, vol.* ii. p. 418.) Gwendid yr hen Gristionogion oedd peidio ymfoddloni ar y drefn yn ei symlrwydd; yr oedd ganddynt sêl angherddol, ond nid bob amser ar ol gwybodaeth. Y mae yn waith annheilwng mewn dynion yn yr oes hon i wawdio bedydd yr efengyl trwy ddweyd, "*Os ydych am drochi dynion, a dilyn y drefn gyntefig, dylech drochi deirgwaith, ac yn noeth,*" *&c.* Nid yn adeg y trochi deirgwaith, a'r bedyddio yn noeth, y sefydlwyd bedydd yr efengyl; yr ydym ni yn myned i'r Testament Newydd i gael ein hawdurdod i fedyddio, ac nid at y Tadau; gan nad ydyw hwn yn dysgu fod eisieu trochi deirgwaith, a throchi yn noeth, nid ydym ni am wneyd y naill na'r llall; ond gan ei fod yn dysgu fod eisieu *claddu gyda Christ yn y bedydd*, yr ydym yn rhwym o gadw at y rheol, gan gofio mai *y Gair Dwyfol yw ein cyfarwyddyd.*

Mae amryw ystyriaethau yn profi mai ychwanegiad dynol oedd y trochi deirgwaith.

(1,) Nid oes son am y fath arferiad yn y Testament Newydd.

Dywed Dr. Conant ei fod yn eglur fod trochi deirgwaith yn groes i eiriad y gorchymyn. I gyfiawnhau y fath arferiad, eb efe, dylasai y geiriau fod, naill ai "*yn enwau,*" neu "*yn enw y Tad, ac yn enw y Mab, ac yn enw yr Ysbryd Glân.*" (St. Matthew's Gospel: *Revised Version, with Critical and Philological Notes.* By T. J. Conant, D.D. London, 1861. Note on Matt. xxviii. 19.)

(2,) Nid oes cyfeiriad at y fath arferiad yn ysgrifau y Tadau Apostolaidd, y rhai oeddynt gydoeswyr â'r apostolion, nac yn ngweithiau Justin Ferthyr, A.D. 140.

(3,) Ar draddodiad yr oedd pleidwyr yr arferiad yn ei sylfaenu.

Dywed Tertullian, A.D. 204:—

"Yna yr ydym yn cael ein suddo deirgwaith i'r dwfr, gan ateb ychydig eiriau yn fwy na'r rhai a orchymynodd ein Gwaredwr yn yr efengyl. Pan y cyfodir ni i fyny o'r dwfr, yr ydym yn archwaethu cymmysgedd o laeth a mêl. Os chwiliwch yn yr Ysgrythyr am unrhyw orchymyn dros y pethau hyn, ni chewch un. Dygir *traddodiad* yn mlaen fel eu sylfaen," &c.

"Mae llawer o bethau yn cael eu cadw trwy *draddodiad* yn yr eglwys, (ebe Jerome, A.D. 370.) y rhai sydd wedi derbyn awdurdod fel pe buasent yn gyfreithiau ysgrifenedig, megys yn y bedyddfan suddo y pen *dair* gwaith o dan ddwfr."

"Yr Ysgrythyr a ddywed, (ebe Basil, A.D. 330.) 'Ewch, dysgwch, a bedyddiwch;' ac ychwanega *traddodiad*, 'Bedyddiwch trwy dri throchiad.'" (*Dr. Wall's Hist. of Inf. Baptism, vol.* ii. pp. 420, 421.)

Fe welir fod y Tadau yn amddiffyn y tri throchiad ar dir traddodiad, yn debyg fel yr amddiffynent ddefodau anysgrythyrol ereill. Nid yw y prawf dros mai trochi neu suddo yw ystyr *baptizo*, yn ymddibynu ar yr arferiad o drochi *deirgwaith.* Mae arferiad yr eglwys gyntefig, modd bynag, yn profi ei bod hi yn ystyried fod *baptizo* yn golygu trochi neu suddo; ni choleddai rith o ammheuaeth ar y pwynt yna; y pwynt gyda hwynt ydoedd—pa un a ddylid mynychu y weithred yn enw pob un o'r personau Dwyfol.

---

# PENNOD VII.

## HEN FEDYDDFANAU *(ANCIENT BAPTISTERIES).*

---

*Bedyddfanau yr hen amseroedd—Bedydd-dai yn Pisa—Caercystenyn—Rhufain—Ravenna—Venice—Florence—Milan—Paris—Lloegr—Dr. Wall ar adlunio'r ffynnon i gawg—Darluniau o Ioan yn tywallt dwfr ar ben yr Iesu.*

MAE maintioli y bedyddfanau a ddefnyddir yn y gwahanol addoldai, yn rhoddi rhyw feddylddrych i ni pa fath fedydd a weinyddir ynddynt. Os llestr bychan a ddefnyddir, gwyddis yn union nad oes bedydd drwy drochiad yn cael ei weinyddu yn y fan hòno; ond os bydd mewn addoldy ffynnon neu fedyddfan, ddigon o faint i gladdu dyn yn ei dyfroedd, y casgliad naturiol yw mai trwy drochiad y gweinyddir bedydd yn y lle hwnw. Yn ol yr ymresymiad hwn, gallwn ganfod oddiwrth yr hen fedyddleoedd ag oedd mewn cyssylltiad â gwahanol addoldai yn y canrifoedd cyntaf, pa fodd y gweinyddid bedydd yn yr hen amseroedd.

Ar y dechreu, gweinyddid bedydd mewn afonydd, llynoedd, ac ymdrochleoedd. Tua chanol y drydedd ganrif, dechreuwyd adeiladu bedyddfanau (*baptisteries*)* gerllaw yr addoldai; ni wneid hwy yn yr eglwys hyd y chweched ganrif.

Yr oedd y *baptisteries* cyntefig yn fath o adeiladau wythonglog (*octagon*), a thô hannergrynol *(dome)* iddynt, yn ymyl yr addoldy, ond nid yn rhan o hono. Yn nghanol yr adeilad yma byddai ystafell ëang, ddigon ei mhaint i gynnwys tyrfa fawr o bobl. Yr oedd ochrau yr adeilad wedi eu gwahanu oddiwrth yr ystafell ëang yn y canol, a'u dosbarthu yn wahanol ystafelloedd, at wasanaeth y gweinyddwyr

---

* "BAPTISTERION, *a bathing place, a swimming-bath,* Pliny II., *the baptistery in a church.*" *Liddell & Scott's Greek Lexicon.*

Galwai ysgrifenwyr Groegaidd y lle y byddid yn *ymdrochi* ac yn *nofio* ynddo yn *baptisterion;* ac am y gweinyddid bedydd yn y canrifoedd cyntaf trwy drochiad, gelwid y bedyddfanau yn *baptisteries.* Ni alwesid lle i ymdrochi a nofio gan y Groegiaid yn *baptisterion*, oni buasai mai ystyr *baptizo* yw *trochi* ac *ymdrochi.*

a'r rhai a gaent eu bedyddio. Yn nghanol y neuadd ëang yn nghanol yr adeilad, yr oedd ymdrochle (*bath*) wythonglog, oddiwrth yr hwn y gelwid yr adeilad. Enw priodol yr adeiladau hyn, ynte, ydoedd *bedydd-dai*, ac enw ar y ffynnon yn nghanol yr ystafell ydoedd *bedyddfa* neu *bedyddle*. Ni chawn gyfeirio yn y bennod hon ond at ychydig o honynt fel engraifft o lawer ereill.

BEDYDD-DY PISA.



Rhydd y darlun blaenorol o Fedydd-dŷ Pisa, Gogledd Itali, feddylddrych lled gywir i'r darllenydd am ffurf allanol y Bedydd-dai hyn, a'r darlun arall o Fedydd-dŷ Florence, (gwel tudal. 114) am yr olwg tu fewnol arnynt. Cafodd Awdwr y gyfrol hon, yn Medi a

Hydref, 1877, y pleser o weled ac archwilio amryw o'r Bedydd-dai y cyfeirir atynt yn y bennod hon, megys Bedydd-dai Eglwys y Lateran, (Rhufain,) Florence, Venice, a Pisa, a mawr y dyddordeb a deimlai ynddynt.

Dechreuwyd adeiladu Bedydd-dŷ Pisa yn y flwyddyn 1153, A.D., a gorphenwyd ef yn y xiv. canrif. Adeilad crwn ydyw, o farmor gwyn, yn mesur ar ei draws 116 troedfedd, a'i uchder yn 172 troedfedd. Mae ei furiau yn 8 troedfedd o drwch. Ar ei ben mae cerfddelw o Ioan Fedyddiwr. Mae yr olwg ar yr holl adeilad mor hardd, fel y gelwir ef yn fynych, "Gogoniant Pisa." Uwch ben y drysau o'r tu fewn ceir amryw ddarluniau, un o honynt yn ddarlun o fedydd trwy drochiad, y Gwaredwr yn sefyll yn y dwfr hyd at ei wddf. Yn nghanol yr adeilad y mae ffynnon wythonglog, 14 troedfedd ar ei thraws, ac o dair i bedair troedfedd o ddyfnder.

BEDYDD-DY ST. SOPHIA, YN NGHAERCYSTENYN.

Cyn hir, wedi i'r Ymerawdwr Cystenyn dderbyn Cristionogaeth, fe symmudodd eisteddle y llywodraeth o Rufain yn Itali, i Byzantium yn Thracia, ac wedi gwneyd amryw welliannau ynddi, fe'i galwodd ar ei enw ei hun *Constantinople*—dinas (*polis*) Constantine, neu Cystenyn. Yn y ddinas hon, yn nechreu y bedwaredd ganrif, fe adeiladodd ei fawrhydi eglwys ardderchog St. Sophia. Darfu i ymerawdwyr dilynol ei haddurno yn y modd mwyaf ysblenydd. Yn hon y bu Chrysostom yn synu y Dwyrain â'i hyawdledd; ond erbyn heddyw, mae cenadon Crist wedi cael eu troi allan o honi, a chanlynwyr Mahomet yn halogi y lle.

Yr oedd bedydd-dŷ ëang mewn cyssylltiad â'r eglwys orwych hon. Yr oedd y *baptistery* yma yn adeilad mor ëang fel y cynnelid cynghorfeydd ynddi. Gelwid y Bedydd-dŷ *Mega Photistêrion*=Y Goleuadfa Mawr, am yr ystyrid fod y rhai a fedyddid *wedi cael eu goleuo* neu eu dysgu yn ffydd yr efengyl. Yn y canol yr oedd y ffynnon, yn yr hon y bedyddid. Dygid dwfr iddi trwy bibellau, ac yr oedd ystafelloedd ereill gerllaw, er cyfleusdra y dysgyblion. Pan adeiladwyd eglwys St. Sophia, yr oedd bedydd i gael ei weinyddu trwy dri throchiad, ac os gweinyddai unrhyw esgob neu bresbyter ef yn wahanol, yr oedd i gael ei ddiswyddo. (*Robinson's Hist. of Baptism*, p. 63.)

BEDYDD-DY EGLWYS LATERAN, RHUFAIN.

Adeilad wythonglog ydyw hwn hefyd. Yn nghanol y llawr y mae y bedyddfa, wedi ei gwybenu â marmor, gyda thri o risiau yn arwain i lawr iddi, a'i dyfnder tua 37 modfedd. Dywed rhai hynafiaethwyr ei bod gynt yn ddyfnach na hyn; ond yr oedd y dyfnder yma yn

ddigon i fedyddio dyn o faintioli cyffredin. Ymdrochle ydoedd ar y cyntaf, yn mhalas Plautius Lateranus, consul yn Rhufain: rhoddodd yr Ymerawdwr Cystenyn y palas fel persondy i Sylvester, Esgob Rhufain, a throwyd ymdrochle'r teulu yn fedyddfa. Gan ei fod yn gwneyd gynt yn ymdrochle, gwnelai ar ol hyny yn fedyddfa. Tybia llawer fod yr Ymerawdwr Cystenyn wedi cael ei fedyddio yn medyddfa eglwys y Lateran, ond tybia ereill mai Eusebius a'i bedyddiodd yn Nicomedia, yn Asia Leiaf, fel nas gellir bod yn sicr ar hyn. (*Robinson's Hist. of Baptism, chap.* xiv.)

BEDYDD-DY YN RAVENNA, ITALI.

Y mae dau o'r adeiladau hyn yn Ravenna, un Catholicaidd ac un Ariaidd. Y mae y ddau yn adeiladau wythonglog. Yn yr un Catholicaidd, yr hwn a adeiladwyd tua'r flwyddyn 375 gan yr Archesgob Orso, ac a adgyweiriwyd ac a addurnwyd â brithwaith gan ei olynydd Neon yn y flwyddyn 451 A.D., mae ystafell wythonglog, tua deuddeg troedfedd ar hugain ar ei thraws. Yn y canol, y mae bedyddfa o farmor gwyn, tua 9 troedfedd o dryfesur, a 3½ o ddyfnder. *Yn awr*, yn y capel gerllaw y bedydd-dŷ y taenellir, ond *gynt*, ebe Ciampini yr hanesydd, pan y bedyddid trwy *drochiad*, bedyddid yn nghanol yr ystafell yn y bedydd-dŷ. (*Robinson's Hist. of Baptism, p.* 84. *Dr. Cote's Arch. of Baptism*, pp. 176, 177.)

Bedydd-dŷ ardderchog yw yr un dan sylw, gydag arluniau cywrain yn mhen y tô hannergrynol (*dome*) sydd uwch ben y bedyddfa.

BEDYDD-DY VENICE.

Yn mhedrongl (*square*) St. Marc, yn Venice, y mae eglwys St. Marc, un o'r eglwysi mwyaf costus ac ysblenydd yn y byd. Mewn cyssylltiad â'r eglwys hon y mae Bedydd-dy cyffelyb o ran ei faintioli a'i gyfleusderau i weinyddu bedydd i'r Bedydd-dai ereill yn Itali. Addurnir y Bedydd-dy hwn gyda llawer o ddarluniau tra phrydferth o frithwaith (*mosaic work*), wedi eu gwneyd yn yr wythfed neu'r nawfed ganrif. Yr arddangosiad hynotaf ynddo yw yr hwn a arddengys *Fedydd Crist yn yr Iorddonen.* Yn y canol y mae yr Iorddonen i'w chanfod yn llifo yn mlaen dan gusanu ei glenydd; yn yr afon mae'r Iesu i'w ganfod yn sefyll, a'r dwfr can uched bron a'i ysgwyddau; ar y llaw aswy, saif Ioan Fedyddiwr, dyn tàl teneu, a'i wallt yn annhrefnus, gyda gwisg flewog am dano. Ymgrymai i lawr tua'r afon, gan ddodi ei law ddeheu ar ben yr Iesu, a'i suddo yn bwyllog i lawr i'r dwfr, a'r Iesu yn ymddangos fel pe byddai yn ymollwng yn ddyfnach i'r dwfr o dan law Ioan; o'r tu cefn i Ioan, y mae bwyell ddwbl i'w chanfod yn ymyl troed coeden, gan gyfeirio-

at eiriau Ioan, mae'n debyg; ar y llaw ddeheu i'r darlun, ar làn yr Iorddonen, gyferbyn â Ioan, mae tri angel gydag adenydd a gwisgoedd llaesion hyd at eu traed, yn ymgrymu yn ostyngedig i'r Iesu; uwch ben mae'r nef yn agor, a seren yn gwreichioni, a cholomen yn disgyn; yn yr afon mae'r pysgod i'w canfod yn chwareu ac ymddigrifo, fel pe byddent yn llawenhau am fod eu Crewr yn cael ei fedyddio yn yr afon lle y nofiant. Uwch ben y darlun hwn, ceir y geiriau, BEDYDDIAD CRIST. (*Robinson's Hist. of Baptism*, pp. 88, 89.)

## BEDYDD-DY FLORENCE.



Y TU FEWN (THE INTERIOR).

Ni wyddis yn iawn pa bryd y dechreuwyd yr adeilad hwn, ond

ymddengys ei fod wedi ei orphen erbyn y flwyddyn 725 A.D. Hwn oedd Prif-eglwys Florence hyd canrif xiii., pryd y gwnaed Eglwys Gadeiriol helaethach, ac y trowyd yr hen eglwys, yr hon a elwid Eglwys St. John, yn Fedydd-dŷ, Adeilad wythonglog, o farmor du a gwyn ydyw, ac yn mesur ar ei draws tua 100 troedfedd, gyda thô hannergrynol (*dome*). Mae oriel o'i fewn yn rhedeg bron o'i amgylch, yn cael ei chynnal gan 16 o golofnau o ithfaen (*granite*) cedyrn, ac addurnir y tu fewn i'w dô bwaog â gwahanol ddarluniau mewn brithwaith amryliw (*mosaics*). Yn y llawr yn nghanol yr adeilad, yr oedd gynt ffynnon wythonglog, 12 troedfedd ar ei thraws, a 4½ o ddyfnder, gyda thri o risiau yn arwain i lawr iddi. Yr oedd y ffynnon hon yn ddigon ëang i gynnwys 12 o bersonau ynddi ar unwaith; yr oedd cilfachau pwrpasol yn wyth gongl y ffynnon, yn mha rai y safai yr offeiriaid wrth fedyddio. Drylliwyd y ffynnon hon yn 1576 gan Francesco de' Medici, ar yr achlysur o fedyddiad ei fab Philip, er mawr anfoddlonrwydd trigolion Florence. Mae y ffynnon yn awr wedi ei chau, a'i gwynebu gyda brithwaith o farmor, fel y gwelir yn y darlun. O amgylch y ffynnon gauedig, mae y frawddeg ganlynol, yr hon, o herwydd darn o bren ar draws y lle, y methais a'i had-ysgrifenu yn gyflawn:—

"AREA PRIMO (gair o'r golwg yma) BAPTISMI FONTE."

Yn y Bedydd-dŷ hwn y bedyddir babanod Florence hyd y dydd hwn, a dygir tua 3,500 o dan y ddefod yn flynyddol yn y lle. (*Murray's Hand-Book of Northern Italy*, 1853, p. 473.) Gweinyddir y ddefod ar yr ochr ddeheuol i'r allor, neu yr ochr aswy i'r darlun wrth i ni edrych arno, o fewn y canllaw yna. Gwelais y ddefod yn cael ei gweinyddu droiau, a safwn o'r tu allan i'r canllaw o fewn rhyw lathen neu ddwy i'r offeiriad a'r baban, gan edrych a synfyfyrio, ac ymddangosai yr offeiriad hynaws fel pe buasai yn cymmeryd dyddordeb neillduol ynof! Ysgrifenais yr hanes canlynol yn fy nghofnod-lyfr ar y pryd, o'r hwn yr wyf yn awr yn dyfynu:—

"Aethum o'r Brif-eglwys i'r *Baptistery*. Yr oedd llawer o gannwyllau wedi cael eu goleuo ynddo (dydd ydoedd). Pan aethum i mewn, yr oedd offeiriad yn taenellu, neu yn hytrach yn tywallt dwfr ar faban. Aeth trwy y ddefod gyda thri ereill tra yr oeddwn yno. Yn gyntaf elai yr offeiriad at y person a ddaliai y baban, yn cael ei ddilyn gan offeiriad arall, yr hwn a ddygai gannwyll anferth yn ei law. Cyffyrddodd i ddechreu â'i fys â gwyneb a bron y baban, gan wneuthur arwydd y groes. Yna âi yn mlaen i ddarllen o'i lyfr. Yna agorodd flwch bychan arian ar ffurf oriadur, a thynodd â'i fys a'i fawd ychydig o ronynau o rywbeth (halen oeddwn i yn feddwl ydoedd), ac a'u gollyngodd i enau y baban, ac a wnaeth arwydd y groes ar ei dalcen. Yna efe a gyfododd ran o'i gul-wisg (*sash*), ar

yr hon yr oedd llun y groes, ac a'i dododd ar y plentyn; ac wedi hyny aeth efe a'r wraig a ddygai y plentyn yn mlaen i ymyl y fedyddfa. Yna dododd yr offeiriad gongl rhyw lian mewn llestr bychan yn cynnwys rhyw wlybwr, ac wedi tynu y llian allan, efe a'i dododd o fewn i enau y baban, ac ar ei wàr neu y tu ol i'w wddf. Yna tynwyd cap y plentyn i ffwrdd, a daliwyd y plentyn uwch ben y fedyddfa; ymaflodd yr offeiriad mewn cwpan arian (yr oedd yn rhwym wrth gadwyn yn y lle), a chyfododd ddwfr o'r fedyddfa, i'r hon yr oedd rhywbeth o gostrel fechan wedi cael ei dywallt, ac a'i tywalltodd yn helaeth ar ben y plentyn. Wedi hyny, fe sychodd yr offeiriad y plentyn oddiwrth y dwfr, gwnaeth arwydd y groes ar ei dalcen, dododd y cap yn ol am ei ben, a throsglwyddodd ef yn ol i'r fenyw. Ar ol tywalltiad y dwfr, yr oedd un o'r rhieni neu o'r meichniwyr yn ymaflyd yn y gannwyll, ac yn dweyd rhyw eiriau ar ol yr offeiriad, yr hyn a derfynai y ddefod, ar ol yr hyn y cofrestrai yr offeiriad yr amgylchiad yn nghoflyfr yr eglwys."

Mae tri o ddrysau o breswaith goreuredig, wedi eu gwneyd yn nghanrifoedd xiv a'r xv, yn addurno y mynedfeydd i'r bedydd-dŷ. Maent yn llawn o olygfeydd, ysgrythyrol gan mwyaf, y rhai a lanwant bob edrychydd âg edmygedd goruchel. Dywedai Michael Angelo am y drysau a wynebant y Gogledd a'r Dwyrain, eu bod yn deilwng i fod yn mhyrth paradwys.

## BEDYDD-DY MILAN.

Crybwylla Ambrose am Fedydd-dy wythonglog yn Milan yn ei amser ef, A.D. 380, a ffynnon wythonglog yn y cyfryw. Yr oedd un felly 45 troedfedd ar ei thraws yn nglyn âg ochr Ddeheuol Eglwys San Lorenzo. Yn y ffynnon yn y Bedydd-dŷ hwn y bedyddiwyd yr enwog Awstin o Hippo, yn nechreu canrif v, a gelwir y Bedydd-dŷ yn awr San Giovanni alle Fonti. Dynion yn unig a fedyddid yn hwn. Yr oedd Bedydd-dŷ arall yn nglyn â'r ochr arall i'r eglwys, yr hwn a elwid San Stefano alle Fonti, lle y bedyddid menywod yn unig. Mae yr hen Fedydd-dai hyn yn adfeiliedig yn awr, ac nis gall yr ymwelydd dyeithr ddyfod o hyd iddynt heb lawer o ymholi ac ymchwilio.

Yn Eglwys Gadeiriol bresennol Milan, yr hon a sylfaenwyd yn y flwyddyn 1386, A.D., mae bedyddfa ddiweddar. Math o gongl neillduedig o fewn y Brif-eglwys ydyw, gyda phedair colofn o farmor yn cynnal y nenfwd neu y cysgod. Mae hen ymdrochfa (*bath*) o faen porphyry yn yr ystafell, yn yr hon gynt y trochid y plant deirgwaith drostynt, gan fod defodlyfr Ambrose, hen Esgob Milan, yn galw am fedydd trwy drochiad. Ond y mae y trochiad bron a diflanu yma hefyd. Darfu i ysgrifenydd y llinnellau hyn wneyd ymchwiliad manwl a holiadau arbenig yn nghylch gweinyddiad

bedydd yno yn awr, pan ydoedd yn Milan, yn Medi, 1877. Holodd ein harweinydd yn y dref i ddechreu; atebai hwnw, "Tywallt dwfr ar y pen, a gwneyd arwydd y groes ar y talcen." Deallais yn union na wyddai hwnw ddim am y pwnc. Aethum i'r eglwys fy hunan boreu drannoeth, a phenderfynais wybod y ffeithiau. Gofynais i foneddwr a safai gerllaw—*Pa fodd yr oeddynt yn bedyddio yn awr yn y ffynnon hòno?* Gan nad oedd y gŵr yn deall Saesneg, gofynodd i foneddwr arall ddyfod ataf; wedi gwneyd ymddiheuriad, dywedais mai holi yr oeddwn yn nghylch eu dull yn bedyddio yn y ffynnon hòno. "Yma (eb efe), yr ydym yn dilyn ffurf-wasanaeth St. Ambrose, ac yn bedyddio trwy drochiad." "Trochi yr holl gorph?" (ebe finnau.) "Nage (ychwanegai), dim ond y tu ol i'r pen, ond yn cynnwys y clustiau a'r talcen." Wedi i hwn fyned i ffwrdd, aethum at un o swyddogion yr eglwys, yr hwn a dderbyniai arian yr ymwelwyr, ac a estynai docynau iddynt er gweled gwahanol ranau yr adeilad, a gofynais iddo yntau yr un peth, ac yr oedd ei ateb yn hollol yr un peth ag eiddo y llall. Gwelais lythyr ar ol hyny yn y *Religious Herald*, Richmond, Va., U.S., gan Dr. Taylor, Cenadwr y Bedyddwyr Americanaidd yn Rhufain, yn dwyn yr un dystiolaeth, ond ei fod yn ychwanegu eu bod yn trochi rhan o'r pen deirgwaith, am yr hyn yr annghofiais ymholi.

Da genyf gael goleuni ar y mater hwn, fel na byddo i mi eto, megys ag y gwnaethum yn yr argraffiad cyntaf o'r gwaith hwn, ac yn yr "*Act of Baptism*," ar awdurdod Deon Stanley,* a phob hanesydd arall ag sydd yn cyfeirio at y pwnc, ddweyd fod bedydd trwy drochiad yr holl gorph yn cael ei weinyddu yn Mhrif-eglwys Milan o'r dechreuad hyd yr awr hon.

Mewn cyssylltiad âg Eglwys Gadeiriol y

---

*"There can be no question that the original form of baptism—the very meaning of the word—was complete immersion in the deep baptismal waters; and that, for at least four centuries, any other form was either unknown, or regarded, unless in the case of dangerous illness, as an exceptional, almost a monstrous case. To this form the Eastern Church still rigidly adheres; and the most illustrious and venerable portion of it, that of the Byzantine Empire, absolutely repudiates and ignores any other mode of administration as essentially invalid. The Latin Church, on the other hand, doubtless in deference to the requirements of a northern climate, to the change of manners, to the convenience of custom, has wholly altered the mode, preferring, as it would fairly say, mercy to sacrifice; and (with the two exceptions of the Cathedral of Milan, and the sect of the Baptists) a few drops of water are now the Western substitute for the threefold plunge into the rushing rivers or the wide baptisteries of the East."—*Lectures on the History of the Eastern Church. By A. P. Stanley, D.D. London,* 1876. Pp. 29, 30.

NOTRE DAME, PARIS,

Mae bedyddfa ëang, yn yr hon y bedyddiwyd y brenin Clovis, yn nechreu canrif vi, trwy ei drochi deirgwaith.

Mae llawer o ffynnonau i fedyddio (*fonts*) i'w canfod yn Lloegr, y rhai a ddangosant ddull gweinyddiad bedydd yn yr amser gynt. Pan ddaeth Awstin Fonach drosodd i Loegr, mewn afonydd y bedyddid; ond wedi hyny, gwneid bedyddfanau yn yr eglwysi, yn mha rai y trochid y dysgyblion, hyd amser Iago I. Ychydig o flynyddau yn ol, yn Eglwys St. Peter, Oxford, yr oedd hen fedyddfa un droedfedd ar ddeg o amgylchedd, ac o ddyfnder cyfatebol. Bedyddiwyd Edward VI a'r frenines Elizabeth, drwy gael eu trochi deirgwaith mewn bedyddfan. Adferwyd un o'r hen fedyddfanau hyn, ychydig flynyddau yn ol, yn eglwys Bradford, i'w defnydd cyntefig: trochwyd boneddiges ieuanc ynddi, wedi ei hadgyweiriad, gan Dr. Burnet. Darlunir hi fel "bedyddfaen gareg fawr, yn pwyso amryw dunelli, yr hon a gedwir yn gyffredin o dan y tŵr." (*Duncan's Hist.* p. 235; *Robinson's Hist. of Baptism*, p. 120.)

Yn awr, mae hanes yr hen fedydd-dai, a bedydd-leoedd, yn dangos i bob meddwl diduedd, eu bod wedi eu gwneyd er mwyn gweinyddu bedydd trwy drochiad ynddynt; ynfydrwydd fuasai eu darparu er mwyn taenelliad; pan y rhoddwyd heibio yr arferiad o drochi, fe "adluniwyd y ffynnon i gawg," ("*they reformed the font into a basin,*") ebe Dr. Wall. (*Hist. of Inf. Baptism, vol.* ii. p. 403.) Gellir gweled amryw o'r hen fedyddfeini, y rhai a ddefnyddid gynt i drochi babanod, eto yn sefyll yn eglwysi Cymru; ond ni ddefnyddir hwynt yn awr fel cynt. Ceir rhyw lestr bychan o'r un ffurf a hwy, wedi ei wneyd a'i doddi ar waelod yr hen rai; bryd arall, dygir *basin* a dwfr ynddo o'r tŷ i'r eglwys. Dengys hyn fod rhyw chwyldroad mawr wedi cymmeryd lle yn mhlith crefyddwyr, er yr oes apostolaidd, ac fod cyfnewidiad mawr eto i gymmeryd lle cyn yr adferir yr eglwys i'w phurdeb cyntefig. Mae y Bedyddwyr, trwy lynu wrth y Beibl, er gwawd y byd a bygythion cynghorfeydd, yn parhau i fedyddio mewn afonydd a llynoedd, fel yr eglwys apostolaidd; a lle na cheir y rhai hyn yn gyfleus, mewn bedyddfanau cyfaddas yn yr addoldai neu gerllaw iddynt, yn gyffelyb i'r eglwys yn y canrifoedd cyntaf, yn mha rai y cleddir y dysgyblion gyda Christ trwy fedydd.

## DARLUNIAU O DYWALLTIAD MEWN BEDYDD-DAI.

Mae'n deg i gydnabod fod yn rhai o'r hen *Baptisteries* ddarluniau naill ai mewn brithwaith o fewn iddynt, megys yn Medydd-dy

Ravenna, neu mewn basddelwad (*bassrelief*), megys yr un ar ddrws deheuol Bedydd-dy Florence, yn mha rai y gosodir Crist allan fel yn sefyll yn y dwfr hyd ei ganol, a Ioan yn tywallt dwfr o lestr ar ei ben. Mae darlun yn nghyntedd Eglwys St. Lawrence (San Lorenzo) yn Rhufain, yn gosod allan St. Lawrence, yn y drydedd ganrif, yn tywallt dwfr ar ben San Romano, yr hwn a ddesgrifir fel yn sefyll mewn dwfr. Yr ydym yn foddlon i'n gwrthwynebwyr wneyd a allont o'r ffaith hon, ond ar yr un pryd yr ydym yn dweyd yn hyderus nad oes dim ynddi. Dywed Mr. Charles Taylor, Golygydd Geiriadur Calmet, yn ei "*Facts and Evidences on Baptism*" (London, 1815), tudal. 31;—y Parch. Wm. Hodges, D.D., West River, Maryland, U. S., yn ei "*Baptism Tested by Scripture and History*" (New York, 1875), tudal. 359;—a'r Parch. W. H. Withrow, M.A., yn "*The Catacombs of Rome*" (London, 1877), tudal. 540, 541, fod yr holl hen ddarluniau o Fedydd Crist, ac o fedydd yn gyffredinol, yn gosod allan Ioan a'r gweinyddydd yn tywallt dwfr ar ben y bedyddiedig,

BEDYDD CRIST, XIV. CANRIF.



AR DDRWS DEHEUOL BEDYDD-DY FLORENCE.

yr hwn a safai yn gyffredin hyd ei lwynau neu ei feingefn yn y dwfr. Dywedir, *heb rith o sail,* fod y darlun o fewn Catacomb San Ponziano yn arddangos Ioan yn tywallt dwfr ar ben yr Iesu, tra nad yw llaw

Ioan yn cynnwys dim ynddi, ond yn unig cael ei gosod ar ben yr Iesu er ei suddo i lawr i'r dwfr fel ag yr eglurwyd yn nhudal. 95, 96, o'r gwaith hwn. Gwel y darlun ar tudal. 95, ac yn nechreu y llyfr.

Cyfeirir yn neillduol at y darlun a geir yn Medydd-dŷ Ravenna, ac at y darlun yn nghyntedd Eglwys St. Lawrence, Rhufain. Mae y darluniau ag sydd yn arddangos tywallt, yn debyg ar y cyfan, i'r darlun a gymmerwyd oddiar ddrws Bedydd-dŷ Florence, perthynol i'r xiv. canrif (gwel tudal. 119). Mae diweddarwch y darlun diweddaf hwn yn ei wneyd yn ddibwys yn nadl bedydd, fel na raid sylwi yn mhellach arno.

OND Y MAE YN DEILWNG O SYLW, NAD YW Y DESGRIFIAD O DYWALLT YN YR HEN DDARLUNIAU HYN, OND YCHWANEGIADAU A LLYGRIADAU DIWEDDARACH.

Mae'n bleser genym ddyfynu yma o waith y diweddar Ddr. Cote, Cenadwr y Bedyddwyr Americanaidd yn Rhufain, yr hwn a ymwelodd yn bersonol â'r gwahanol Eglwysi a Bedydd-dai, er chwilio allan y pwnc hwn, ac a wnaeth "Henafiaeth Bedydd" ei hoff a'i brif efrydiaeth am lawer o flynyddau. Wrth son am y darlun o fewn Catacomb San Ponziano, ysgrifena Dr. Cote:—

"Yn ei waith, *Roma Sotteranea*, dyry Bottari yr eglurhad canlynol o'r darlun hwn. 'Ar y mûr (eb efe), uwchlaw y bwa, darlunir y Gwaredwr i fyny at ei feingefn yn nyfroedd afon yr Iorddonen, ac ar ei ben gorphwysa llaw ddeheu Ioan, yn sefyll ar y làn. *Trwy gam-gymmeriad y mae arlunwyr diweddar yn gosod Crist allan yn yr Iorddonen i fyny at ei liniau yn unig, a Ioan yn tywallt dwfr ar ei ben.* Ac er y gwelir ar gyntedd Eglwys San Lorenzo, o'r tu allan i furiau Rhufain, y sant hwnw mewn darlun yn tywallt dwfr ar ben San Romano, yn sicr nid hyny oedd y ffaith, oblegyd mae y darlun yna yn llawer mwy diweddar* na'r rhai perthynol i'r canrifoedd cyntaf, *ac mae'n amlwg fod yr arluniwr yn anwybodus, neu wedi cael ei gamar-wain gyda golwg ar weithredoedd San Lorenzo.* Nid yw yn annhebygol, modd bynag, i'r arferiad ffynu ar ol hyny i dywallt dwfr ar ben yr ymgeisydd (*catechumen*) wedi iddo gael ei drochi." (*Archæology of Baptism*, pp. 31, 32.)

Wrth draethu ar y darlun o Fedydd Crist yn Medydd-dŷ Ravenna, ysgrifena Dr. Cote fel y canlyn:—

"Saif y Gwaredwr i fyny at ei feingefn yn afon yr Iorddonen; uwch ben iddo mae y golomen yn gosod allan yr Ysbryd Glân; saif Ioan ar y làn yr ochr aswy, un troed wedi ei godi ar gareg, ei ben yn

---

* Perthyna i'r xii. canrif,—*Dr. Cote.*

uchel, ac â'i law ddeheu efe a dywallta y dwfr allan o gwpan ar ben yr Iachawdwr. A'i law aswy y mae yn dal croes wedi ei haddurno â gemau.

"Rhoddir pwys mawr gan rai ysgrifenwyr ar y ffaith, fod Ioan yn y brithweithiau (*mosaics*) hyn, y rhai ydynt o henafiaeth mawr, yn cael ei arddangos fel yn *tywallt* dwfr ar ben yr Iachawdwr; a chasglant oblegyd hyny fod bedydd yn yr amseroedd cyntefig yn cael ei weinyddu trwy drochiad a thywalltiad. Mae'n ddoeth nodi, modd bynag, fod brithwaith y Bedydd-dy hwn wedi cael ei adnewyddu drachefn a thrachefn; ac mae beirniaid cymhwys (*well-informed critics*) o'r farn fod ychwanegiadau a chyfnewidiadau anniffynadwy (*unwarrantable*) wedi cael eu gwneyd yn y gwaith ysblenydd hwn gan arlunwyr anfedrus. Mae yr adferiadau hyn yn cael eu gwneyd yn anghenrheidiol gan gyflwr anniddos y nendwr (*leaky condition of the cupola*), diffyg ag sydd yn anffodus o hyd yn parhau.

"Mae pen, ysgwydd ddeheu, a braich ddeheu y Gwaredwr wedi cael eu hadferu; a hefyd pen, ysgwydd ddeheu, braich ddeheu, a choes a throed deheu Ioan Fedyddiwr. Fel hyn y dichon ein bod yn ddyledus i adgyweirydd am y gwpan, yr hon a ddeil Ioan yn ei law ddeheu, ac am y groes addurnedig â gemau yn ei law aswy, oblegyd yn mhob darlun arall perthynol i'r un cyfnod, desgrifir ef yn dal *corsen* yn ei law aswy, ac yn *dodi* ei law ddeheu ar ben y Gwaredwr. Mae brithwaith y Bedydd-dy enwog hwn, gan hyny, wedi colli llawer o'i werth hynafiaethol, mewn canlyniad i'r adferiadau a'r cyfnewidiadau hyn." (*Arch. of Baptism*, pp. 177, 178.)

Dyfyna Dr. Cote weithiau amryw awdwyr Italaidd yn cadarnhau a phrofi cywirdeb ei farn ef ei hun ar y cyfnewidiadau a'r llygriadau yn y darluniau dan sylw.

---

# RHAN II.

(PARHAD.)

---

## Y WEITHRED O FEDYDDIO, NEU DDULL BEDYDD.

---

### DOSRAN II.

### Y GWRTHDDADLEUON.

---

### GWRTHDDADL I.

Y GEIRIAU "DYFROEDD LAWER."

"Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio yn Ainon, yn agos i Salim; canys dyfroedd lawer oedd yno: a hwy a ddaethant ac a'u bedyddiwyd." (Ioan iii. 23.)

---

*Adroddiad o'r Wrthddadl—Ieithwedd Iuddewig yn cael ei dwyn i mewn i'r LXX a'r Testament Newydd—*Hudata polla *yn fynych yn y LXX am yr Hebraeg* maim rabbim*—Engreifftiau lle y golyga* hudata polla *gyflawnder o ddwfr—Llyn Gibeon—Arddull Ioan yn meddu llawer o ieithwedd Hebreig—Doddridge, Bengel, Poole, a Whitby ar y geiriau.*

Gwrthddadleuir nad ydyw y geiriau "dyfroedd lawer" (*hudata polla*) yn yr adnod hon yn golygu *llawer o ddwfr*, ond *llawer o fân ffrydiau*, am fod y geiriau yn y rhif liosog. Ceir rhai dysgedigion enwog yn mhlith y taenellwyr a ddysgant fel hyn. Dywed Moses Stuart yn ei draethawd ar fedydd, fod y geiriau "dyfroedd lawer"

(*hudata polla*) yn golygu "*llawer o ffrydiau neu gornentydd*," (*many streams or rivulets;*) a dysga Dr. Robinson, yn ei Lexicon, fod y geiriau yn golygu "*llawer o ffynnonau.*" Ceisir dysgu trwy hyn nad oedd Ioan yn bedyddio yn Ainon am fod yno swm mawr o ddwfr, lle y gallai weinyddu bedydd trwy drochiad, ond am fod yno lawer o fân ffrydiau er disychedu y bobl a'u hanifeiliaid. Gan fod cryn lawer yn cael ei wneyd o'r wrthddadl hon, gwnawn ymchwiliad i'w sylfeini.

1. Cofiwn mai Iuddewon oedd ysgrifenwyr y Beibl. Fel Iuddewon, yr oedd ganddynt eu nheillduolion; yr oedd ganddynt eu hiaith neillduol, a phan y siaradent neu yr ysgrifenent iaith estronol, yr oeddynt yn dueddol i lusgo Hebreigiaeth neu lafarddull Hebreig (*idiom*) i'r iaith hòno; ac engraifft o'r cyfryw yn y Groeg yw yr ymadrodd "dyfroedd lawer."

2. Nid ydyw y gair Hebraeg am ddwfr yn cael ei ddefnyddio yn y rhif unigol yn y Beibl Hebraeg, ac y mae ei ansoddair bob amser yn cytuno âg ef yn y rhif liosog.

Sonir am "ddwfr rhedegog," (Gen. xxvi. 19.)—"dwfr santaidd," (Num. v. 17.)—"dyfroedd cryfion," (Neh. ix. 11.)—"dwfr glân," (Esec. xxxvi. 25.) &c., &c., lle y ceir yn yr Hebraeg yr ansoddair yn y rhif liosog yr un modd a'r gair am ddwfr. Ceir y geiriau *maim rabbim*, (*llawer o ddyfroedd*,) yn fynych yn y Beibl Hebraeg, a chyfieithir hwy yn llythyrenol gan y Deg a Thrigain yn *hudata polla*= llawer o ddyfroedd, sef y geiriau a geir yn Ioan iii. 23. "Tynodd fi o ddyfroedd lawer," (LXX *ex hudatôn pollôn.*) (2 Sam. xxii. 17.) "Tynodd fi allan o ddyfroedd lawer," (LXX *ex hudatôn pollôn.*) (Salm xviii. 16.) "Yn llifeiriant dyfroedd mawrion," (LXX *en kataklusmô hudatôn pollôn,*) "ni chânt neshau ato ef." (Salm xxxii. 6.) "Dy ffordd sydd yn y môr, a'th lwybrau yn y dyfroedd mawrion," (LXX *en hudasi pollois.*) (Salm lxxvii. 19.) "Yr Arglwydd yn yr uchelder sydd gadarnach na thwrf dyfroedd lawer," (LXX, *hudatôn pollôn.*) (Salm xciii. 4.) "Y rhai a ddisgynant mewn llongau i'r môr, gan wneuthur eu gorchwyl mewn dyfroedd mawrion," (LXX, *en hudasi pollois.*) (Salm cvii. 23.) "Achub a gwared fi o ddyfroedd mawrion," (LXX, *ex hudatôn pollôn,*) "o law plant estron." (Salm cxliv. 7.) "Tydi, yr hon ydwyt yn aros ar ddyfroedd lawer, (LXX, *eph' hudasi pollois,*) yn aml dy drysorau, dy ddiwedd di a ddaeth." (Jer. li. 13.)

Yn y lleoedd uchod ceir y LXX yn defnyddio yr un geiriau a Ioan —*hudata polla*—fel cyfieithiad o'r geiriau Hebraeg *maim rabbim*= dyfroedd lawer, yn y rhif liosog; ond fe welir oddiwrth yr adnodau uchod, mai y meddylddrych o *lawer o ddwfr* a osodir allan drwy y

geiriau "*hudata polla.*" Gesyd y Salmydd ei hun allan fel yn suddedig mewn dyfroedd lawer, a Duw yn ei waredu. (2 Sam. xxii. 17. xviii. 16.) Yn Salm xxxii. 6., defnyddir y gair *kataklusmos*, (yr un gair ag a ddefnyddir yn Mat. xxiv. 38, 39. am y *diluw*,) mewn cyssylltiad â *hudata polla*, lle y golygir *diluw dyfroedd lawer*, *llifeiriant dyfroedd ail i'r diluw*. Yn Salm cvii. 23., defnyddir hwy yn gyfystyr â'r gair môr; dywedir fod y morwyr yn disgyn mewn llongau i'r môr, ac yn gweithio ar y dyfroedd mawrion, (*en hudasi pollois*,)* sef ar y môr. Yn Jer. li. 13., ceir y geiriau *hudata polla*, am yr afon fawr Euphrates, ar yr hon yr adeiladasid Babilon.

Adnabyddir llyn Gibeon wrth yr enw "dyfroedd mawrion" yn yr Hen Destament. "Yna hwy a gymmerasant eu holl wŷr, ac a aethant i ymladd âg Ismael mab Nethaniah, ac a'i cawsant wrth y *dyfroedd mawrion*, (Heb. *maim rabbim*, LXX, *hudatos pollou*,) y rhai sydd yn Gibeon. (Jer. xli. 12.) Er mwyn cael gweled beth a olygir wrth y DYFROEDD MAWRION hyn, troer i'r 2 Sam. ii. 12—14. "Ac Abner mab Ner, a gweision Isboseth mab Saul, a aethant allan o Mahanaim i Gibeon. Joab hefyd mab Serfiah, a gweision Dafydd, a aethant allan ac a gyfarfuant yn nghyd wrth LYN GIBEON; a hwy a eisteddasant wrth y LLYN, rhai o'r neilldu, a'r lleill wrth y LLYN o'r tu arall. Ac Abner a ddywedodd wrth Joab, cyfoded y llanciau yn awr, a chwareuant ger ein bronau ni. A dywedodd Joab, cyfodant."

Ystyrir yn gyffredin mai yr un peth a olygir wrth DDYFROEDD MAWRION GIBEON yn Jeremiah, a LLYN GIBEON yn Samuel. Felly y dywed Calmet a Kitto yn eu Geiriaduron.

Gelwir Gibeon yn awr El-Jib; pentref ydyw tua phum' milltir i'r Gogledd-Orllewin o Jerusalem. "Mewn ogof yn ymyl y ddinas, y mae ffynnon odidog o ddwfr wedi ei chafnio yn y graig, fel ag i wneuthur cronfa fawr tanddaearol. Ychydig o'r tu isaf iddi, yn mhlith coed olewydd, y mae gweddillion cronbwll mawr agored, tua 120 troedfedd o hyd, a 100 troedfedd o led. Bwriadwyd ef, mae'n ddiau, (ebe Dr. Kitto,) i dderbyn dyfroedd gormodol yr ogof, ac nis gall fod ond ychydig ammheuaeth mai hwn oedd 'Llyn Gibeon' a grybwyllir yn 2 Sam. ii. 13., ac yn y cyfan, yr ydym yn canfod 'Dyfroedd mawrion Gibeon,' yn Jer. xli. 12." (*Kitto's Bible. Cycl. Art. Gibeon.*)

Ceir y geiriau "hudor polu"=*llawer o ddwfr*, yn y LXX yn y rhif unigol, pan y mae y geiriau cyfatebol yn yr Hebraeg yn y rhif liosog,

---

* Dichon y dylid hysbysu y darllenydd mai yr un peth yw "*hudata polla*" a "*hudatôn pollôn*," a "*hudasi pollois*," a geir uchod, ond eu bod mewn gwahanol gwympodau (*cases*) neu derfyniadau.

yn y lleoedd canlynol;—2 Chron. xxxii. 4. Esai. xvii. 12, 13. xxiii. 3. xxviii. 2. Esec. i. 24. xxvi. 19. xxvii. 26. xxxi. 5. 7. Caniad. viii. 7.

Gan hyny, yn ol y Deg a Thrigain, y mae y geiriau "*llawer o ddyfroedd*" a "*llawer o ddwfr*," ("hudata polla" a "hudor polu,") yn gyfystyr, ac yn gosod allan *gyflawnder o ddwfr*. Cymharer Mat. xvii. 15. â Marc ix. 22., lle y defnyddia Matthew y gair "*dwfr*," a Marc y gair "*dyfroedd*" wrth gofnodi yr un amgylchiad.

3. Y mae arddull Ioan yn meddu llawer o ddullwedd Hebreig; ac y mae y geiriau "*hudata polla*" i'w rhestru yn mhlith ei Hebreigiaethau (*Hebraisms*). Brawddeg neillduol yn y Testament Newydd, berthynol i Ioan yn unig, yw *hudata polla*=dyfroedd lawer; ond ceir hi droiau yn ei ysgrifau ef. Cawn yr un geiriau yn Dad. i. 15. xiv. 2. xvii. 1. xix. 6.

Ni wnelai y geiriau *ychydig o ddwfr* na *mân ffrydiau o ddyfroedd*, osod allan rymusder y meddylddrychau a osodir allan gan Ioan drwy y geiriau *hudata polla;* ond os cymmerwn hwy i olygu *cyflawnder mawr*, megys dyfroedd y môr, y maent yn brydferth, grymus, a barddonol.

4. Deallir y geiriau "*hudata polla*"=dyfroedd lawer, yn Ioan iii. 23. gan y mwyafrif o esbonwyr taenellyddol i olygu *cyflawnder mawr o ddwfr*. Felly Dr. Doddridge:—

"Ac yr oedd Ioan hefyd y pryd hwnw yn bedyddio yn Ainon, yr hwn oedd le yn agos i Salim, tref ar yr ochr Orllewinol i'r Iorddonen: ac efe a ddewisodd y lle hwnw yn neillduol am fod cyflawnder mawr o ddwfr yno *(because there was a great quantity of water there)*, yr hyn a'i gwnelai yn dra chyfleus iddo gyflawni ei amcan."

Yn ei nodiad ar waelod y ddalen, sylwa Doddridge yn mhellach fel y canlyn:—

"Nis gall dim yn sicr fod yn fwy eglur, nag fod *polla hudata*= llawer o ddyfroedd, yn golygu cyflawnder mawr o ddwfr, gan y defnyddir ef weithiau am yr Euphrates, Jer. li. 13. (*Septuagint*,) at yr hon, tybiwyf, y gall fod cyfeiriad yn Dad. xvii. 1. Cymharer Esec. xliii. 2. â Dad. i. 15. xiv. 2. xix. 6., lle mae'n amlwg y golyga *sŵn dyfroedd lawer* ruad môr mawr." (*Doddridge's Family Expositor.*)

Nid ydyw Bengel yn gwneyd mwy o sylw ar y geiriau na hyn:—

"*Llawer o ddyfroedd.*—Felly y gofynai y ddefod o drochiad (*So the rite of immersion required*)."

"Y mae yn eglur oddiwrth hyn, (ebe Poole ar y lle,) fod Crist a Ioan yn bedyddio trwy drochi y corph yn y dwfr; pe amgen, ni fuasai

raid iddynt chwilio am leoedd yn mha rai yr oedd llawer o ddwfr; eto, mae'n debyg nad oeddynt yn trochi yn gysson, gan y darllenwn am yr apostolion yn bedyddio mewn tai."

"Canys dyfroedd lawer oedd yno,"—yn yr hwn (ebe Dr. Whitby) y gellid trochi eu holl gyrph; oblegyd yn y dull yna yn unig yr oedd bedydd yn cael ei weinyddu, trwy ddisgyniad i'r dwfr, (Act. viii. 38.), ac esgyniad allan o hono, (adn. 39.), a chladdiad ynddo." (Rhuf. vi. 3, 4. Col. ii. 12.)

Gellid meddwl, bellach, os profwyd unrhyw beth erioed, ein bod wedi profi yn y llinellau blaenorol fod y geiriau "dyfroedd lawer" yn Ioan iii. 23., yn golygu cyflawnder mawr o ddwfr, yn yr hwn y bedyddiai Ioan mab Zecharias.

Dywediad rhyfedd a disail yw hwnw, sef "mai er mwyn cyfleusdra ei wrandawyr a'u hanifeiliaid yr oedd Ioan yn dewis lle a dyfroedd lawer ynddo i fedyddio." Dywed yr Ysgrythyr yn bennodol ei fod wedi dewis Ainon *i fedyddio*, AM fod yno *ddyfroedd lawer*, sef er iddo allu gweinyddu bedydd. Yr oedd Mab Duw yn pregethu yn yr un wlad, a'r un oes, a Ioan, ac yr oedd miloedd lawer yn cyrchu i'w wrando; ond nid oes genym hanes ei fod ef yn dewis lle a "*dyfroedd lawer*" ynddo, er mwyn cyfleusderau y bobl; os oedd Ioan yn dewis lle o'r fath er mwyn cysur a chyfleusdra y bobl, peth rhyfedd na ddywedasid yr un peth am ei Feistr. A oedd Ioan yn fwy dyngarol na Christ? A oes genym hanes fod gwrandawyr Crist wedi llethu o *syched* wrth ymgasglu ato i wrando arno yn pregethu yn y mynydd (Mat. v. 1. xiv. 13—21. xv. 29—38.) a'r anialwch, er fod miloedd yn ei ddilyn? Os ydyw y Beibl yn ddystaw ar hyn, rhaid mai nid er mwyn y bobl yr oedd Ioan yn dewis lle a "dyfroedd lawer" ynddo, ond er mwyn yr ordinhad. Gan nad beth ydyw gwrthddadleuon dynion, "yr Ysgrythyr nis gellir ei thori;" tystia hon mor hyglyw ag erioed fod "*Ioan yn bedyddio yn Ainon yn agos i Salim, canys dyfroedd lawer oedd yno; a hwy a ddaethant, ac a'u bedyddiwyd*"—nid, "ac a'u disychedwyd," neu, "ac a ddiodasant eu hanifeiliaid," eithr "*ac a'u bedyddiwyd.*"

---

# GWRTHDDADL II.

## HANES BEDYDDIAD PAUL.

---

*Dullwedd Dwyreinwyr wrth osod allan eu meddyliau—Engreifftiau—Nad ydyw y geiriau* "Efe a gyfododd," *yn groes i'r syniad o Fedydd trwy Drochiad—Engreifftiau cyffelyb.*

Yr ydym wedi sylwi yn barod ar fedyddiad Paul; ond gan y cymmerir hanes bedyddiad Paul weithiau fel dadl yn erbyn bedydd trwy drochiad, gwnawn nodiad pellach ar yr amgylchiad yn y lle hwn. Dywedir weithiau fod Paul wedi cael ei fedyddio yn ei sefyll yn yr ystafell yn nhŷ Judas. Darllenasom bregeth ar droedigaeth Saul rai blynyddau yn ol, yn yr hon y dywedid "ei fod wedi cael ei fedyddio yn y fan cyn symmud oddiar yr aelwyd!" Yr oedd awdwr y bregeth yn fardd enwog hefyd; mae'n debyg mai ysbrydoliaeth yr awen a ddangosodd Saul iddo yn rhyw greadur bach, gwael, anwydog, yn eistedd wrth y tân, gan ei fod wedi cael ei fedyddio cyn symmud oddiar yr aelwyd! Ond y mae pethau Duw yn rhy bwysig i'w hymresymu ymaith â dychymmygion beirdd a thwyll-resymau duwinyddion, a dylid rhoddi chwareu teg i'r gwirionedd, gan nad beth fyddo ein golygiadau neillduol ni ein hunain am bethau crefydd.

Gyda golwg ar y geiriau "*efe a gyfododd ac a fedyddiwyd,*" nid allwn ymresymu dim oddiwrth ei waith yn *codi* er cael ei fedyddio ag sydd yn ffafriol i daenelliad, *oblegyd ymadrodd perthynol i ddullwedd neillduol y Dwyreinwyr ydyw, pan yn desgrifio symmudiadau dynion.* Mae gwaith un *yn llefaru*, yn cynnwys o anghenrheidrwydd ei fod yn *agor ei enau;* ond pan y sonir am bersonau yn llefaru yn y Beibl, dywedir hefyd eu bod yn agoryd eu genau cyn hyny. "Ac efe a *agorodd ei enau*, ac a'u *dysgodd* hwynt." (Mat. v. 2.) "A Phylip a *agorodd ei enau*, ac a ddechreuodd ar yr Ysgrythyr hòno, ac a bregethodd iddo yr Iesu." (Act. viii. 35.) Yna yr *agorodd* Pedr *ei enau*, ac a ddywedodd," &c. (Act. x. 34.) Pe na ddywedasid fod Crist, a Phylip, a Phedr, wedi agoryd eu genau, yr oedd eu gwaith yn *llefaru* yn *cynnwys* eu bod yn gwneyd hyny. Felly hefyd, pe na ddywedasid fod Paul wedi codi cyn cael ei fedyddio, fe fuasai y ffaith ei fod wedi cael ei fedyddio yn cynnwys ac yn ein dysgu ei fod o anghenrheidrwydd wedi codi yn *flaenorol* i hyny, a cherdded i'r man lle y gweinyddid y bedydd. Ond i ni sylwi ar leoedd ereill,

lle y defnyddir y ferf neu y rhangymmeriad *codi,* ni a ganfyddwn mai dullwedd syml a neillduol y Dwyreinwyr yw y ffurfeiriadaeth *codi a gwneyd* unrhyw beth, pryd nad ydyw y synwyr yn gofyn o anghenrheidrwydd am i'r gair *codi* fod yn y frawddeg. Gan mai yr un rhangymmeriad—*anastas*—sydd yn y lleoedd a nodwn ag sydd yn Act. ix. 18. nyni a'i dodwn rhwng cromfachau, ac a roddwn gyfieithiad mwy llythyrenol o'r geiriau a ddyfynir.

"Ac wedi iddo godi (*anastas*), efe a aeth oddi yno i gyffiniau Tyrus a Sidon." (Marc vii. 24.) "Ac wedi iddo gyfodi (*anastas*), efe a aeth oddi yno i dueddau Judea." (Marc x. 1.) "Ac wedi i Mair gyfodi (*anastasa*) yn y dyddiau hyny, hi a aeth i'r mynydd-dir ar frys." (Luc i. 39.) "Ac wedi i mi godi (*anastas*) mi a âf at fy nhad ......a phan gyfododd (*anastas*) efe a aeth at ei dad." (Luc xv. 18. 20.) "Ac wedi i'r holl liaws o honynt gyfodi (*anastan*), hwy a'i dygasant ef at Pilat." (Luc xxiii. 1.) "Ac wedi iddo gyfodi (*anastas*) efe a aeth." (Act. viii. 27.) "A'r Arglwydd *a ddywedodd* wrtho, *Wedi* i ti *godi* (*anastas*), dos i'r heol a elwir Uniawn, a chais yn nhŷ Judas *un* a'i enw Saul o Tarsus." (Act. ix. 11.) "Ac wedi iddo godi (*anastas*) efe a fedyddiwyd." (Act. ix. 18.)

Yn awr, fe welir nad ydyw y geiriau "*efe a gyfododd ac a fedyddiwyd,*" yn cynnwys fod Saul yn gorwedd ar wely cystudd fwy nag Ananias, yr hwn a ddaeth ato, oblegyd dywedir fod hwnw *wedi codi;* neu y lliaws a ddygasant Grist at Pilat, oblegyd dywedir eu bod hwythau *wedi codi;* neu Phylip, oblegyd dywedir ei fod yntau *wedi codi;* a'r un rhangymmeriad a ddefnyddir yn yr un amseriad *(tense)* i osod y naill a'r llall allan.

Mae'n bossibl fod yr ystyr o *ymbarotoi* yn perthyn i'r ferf *cyfodi* yma, ac yn Luc xv. 18. a Mat. ix. 9. lle y dywedir fod yr afradlon wedi *cyfodi,* a myned at ei dad; a Matthew wedi *cyfodi,* a chanlyn Crist. Yr oedd gan swyddog i'r llywodraeth, fel Matthew, gyfrifon i'w gwastadhau; ac yr oedd yn ofynol iddo ymryddhau o'i swydd yn anrhydeddus, cyn dilyn Iesu Grist y Cyfiawn. Gellir tybied, gan hyny, fod y gair *cyfodi* yma, beth bynag, yn cynnwys *ymbarotoi,* yn gyfystyr a phe dywedid, "Ac *wedi iddo wneyd ei hun yn barod,* efe a'i canlynodd ef." Modd bynag, dengys yr engreifftiau blaenorol nad ydyw yr ymadrodd ond y dullwedd cyffredin a ddefnyddir yn y Beibl i ddesgrifio symmudiadau dynion. Gwel Hackett ar y lle.

Gellid edrych ar y geiriau hefyd fel math o *dalfyriad* o hanes yr amgylchiad, yn debyg i Luc iv. 38.:—"Ac wedi *i'r Iesu* gyfodi (*anastas*) o'r Synagog, efe a aeth i mewn i dŷ Simon." Yr oedd yn ofynol iddo, nid yn unig *gyfodi* o'i eisteddfa yn y Synagog, ond *myned allan* o honi, a *cherdded* at dŷ Simon, *cyn* myned i mewn iddo. Mae yr ymadrodd yn dalfyrol am yr *holl weithredoedd* hyn.

## GWRTHDDADL III.

### BEDYDD YR YSBRYD GLAN.

---

*Natur yr Wrthddadl—Y Rheol i esbonio Ymadroddion Ffugyrol—Ystyr y geiriad "Bedyddio yn yr Ysbryd Glân,"—Dr. E. Robinson a Lange ar y geiriau—Origen a'r Allor.*

Dywedai Ioan Fedyddiwr y byddai i'r Messiah fedyddio rhai o'i wrandawyr yn yr Ysbryd Glân; a chan y dywedir yn mhellach fod y Messiah wedi tywallt yr Ysbryd Glân ar yr apostolion yn unol â rhagfynegiad Ioan, cesglir fod bedyddio a thywallt yn gyfystyr. (Mat. iii. 11. Act. ii. 31. xi. 15, 16.)

Gyda golwg ar yr wrthddadl hon, mae dau neu dri o bethau i'w cadw mewn cof:—

1. Mai nid wrth y defnydd ffugyrol a wneir o air, yr ydym i benderfynu ei ystyr lythyrenol.

Y rheol yw, penderfynu ystyr ffugyrol gair oddiwrth ei ystyr lythyrenol ac arferol, ac ymresymu oddiwrth y daearol at yr ysbrydol, ac oddiwrth y gweledig at yr anweledig. Gan mai ystyr lythyrenol *baptizo* yw suddo a gorchuddio, neu achosi i fod yn suddedig a gorchuddiedig, rhywbeth cydweddol â'r ystyr yna a olygir wrth fedyddio yn yr Ysbryd Glân.

2. Mai rhywbeth mewn canlyniad i ddisgyniad yr Ysbryd yw y bedydd addawedig.

"Eithr chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân WEDI Y DELO EFE ARNOCH, ac a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem, yn Judea, ac yn holl Samaria, ac hyd eithaf y ddaear." (Act. i. 8. ii. 4. 17. 33. x. 44—46.)

Ymadrodd i gyfarfod â gwendid dyn yw disgyniad a thywalltiad yr Ysbryd; nid oes na disgyn na thywallt yn perthyn i Fôd Dwyfol holl-bresennol, ond defnyddir iaith fel hyn gyda ni sydd yn arfer sylwi cymmaint ar ddeddf achos ac effaith, *er gosod allan bresennoldeb y gweithrediadau Dwyfol yn fwy grymus ac effeithiol.*

3. Mai cyfoeth a helaethrwydd doniau yr Ysbryd a olygir wrth fedydd yr Ysbryd Glân.

Edrychir yn mlaen at fedydd yr Ysbryd Glân fel amgylchiad

annhraethol bwysig yn ngweinyddiaeth y nefoedd. Dywedid cyn dydd y Pentecost nad oedd yr Ysbryd Glân wedi cael ei roddi, oblegyd na ogoneddasid yr Iesu eto, ac mai mewn canlyniad i'w esgyniad ef yr oedd i ddyfod, (Ioan vii. 39. xvi. 7.)—hyny ydyw, *mewn cyflawnder;* oblegyd yr oedd wedi cael ei roddi o'r blaen fel Ysbryd prophwydoliaeth (2 Pedr i. 21.), fel Ysbryd argyhoeddi a santeiddio (Salm li. 12. Luc i. 15. 80.), ac fel Gwneuthurwr gwyrthiau (Mat. xii. 28.); ond nid oedd ei roddiad cyn esgyniad Crist ond megys y defnynau gwlith mewn cymhariaeth i'r gwlaw helaethlawn, neu dywyniad gwanaidd y wawr yn ymyl dysgleirdeb llachar yr haul. Wedi esgyniad yr Iesu yr oedd ei bresennoldeb i fod fel llanw o drugaredd, a'r apostolion i gael eu claddu a'u gorchuddio megys yn ei ddylanwadau santaidd a nefol.

"*Bedyddio yn yr Ysbryd Glân ac mewn tân,*" ebe Dr. Robinson yn ei Eiriadur Groeg a Saesneg, a olyga "gorchuddio, cynnysgaethu yn helaeth â phob dawn ysbrydol, neu orchuddio â thân anniffoddadwy."

"*Myfi yn wir ydwyf yn eich bedyddio chwi â dwfr* (yn eich trochi yn yr elfen ddwfr) *i edifeirwch.*—Efe a'ch bedyddia, neu a'ch trocha chwi yn yr Ysbryd Glân ac mewn tân. Naill ai efe a'ch sudda chwi yn drylwyr yn yr Ysbryd Glân fel rhai edifeiriol, neu, os yn anedifeiriol, efe a'ch gorchuddia chwi â thân barn, (ac yna â thân uffern)." (Lange ar Mat. iii. 11.)

Mae'n dra thebyg oddiwrth y cyssylltiadau mai tân barn a chosbedigaeth a olygir wrth y gair tân yn y lle hwn, i'r hwn y teflir y rhai annghrediniol yn y diwedd.

Cymharer y defnydd a wneir o fedydd fel ffugyr dyoddefiadau y Gwaredwr, i ba rai y suddai, ac â pha rai y gorchuddid ef. (Mat. xx. 22, 23. Marc x. 38, 39. Luc xii. 50.)

O barthed parhad bedydd yr Ysbryd Glân, gwel tudal. 11, 12.

Cawn engraifft yn ysgrifeniadau Origen o *baptizo* yn cael ei ddefnyddio trwy drawsenwad—yr effaith am yr achos—i osod allan *gyflawnder o ddwfr*, fel pe buasai yr hyn a nodir wedi cael ei drochi mewn, a'i orchuddio â dwfr.

Wrth gyfeirio at Ioan i. 25. dywed:—"Beth a wnaeth i chwi feddwl y gwna Elias, pan y daw, fedyddio, yr hwn yn nyddiau Ahab na fedyddiodd (Gr. *baptisantos*) y coed ar yr allor, er fod anghen golchiad (Gr. *loutron*, baddiad) arnynt mewn trefn i gael eu llosgi......ond a orchymynodd i'r offeiriaid wneyd?"

Desgrifia Origen yma y tywalltiad helaeth o ddeuddeg celyrnaid (Heb. כדים) o ddwfr ar yr allor, a'i hamgylchiad â dwfr yn y ffos hyd yr ymylon, fel bedydd. (1 Bren. xviii. 32—35.) Edrychai

arnynt fel wedi eu gorchuddio a'u hamgylchu â dwfr, a'u mwydo yn drwyadl ynddo, ac mor wlyb a phe buasent wedi eu trochi mewn dwfr; a chymharai yr amgylchiad i fedydd, a'r weithred i drochiad, fel y mae yn amlwg oddiwrth ei waith yn defnyddio y gair *loutron* yn y frawddeg, yr hwn sydd yn gyfystyr â throchiad. Cymharer y sylwadau ar *bapto* yn Daniel, tudal. 134, 135.*

Hyd y nod yn ol yr esiampl hon, yr hon sydd i raddau yn wahanol i'r esiamplau ereill, (effaith, fe ddichon, dychymmyg bywiog Origen, yr hwn a ddarganfyddai ystyr driphlyg yn ngeiriau y Beibl!) dylai y *gwrthddrych gael ei orchuddio gan, a'i amgylchu â'r elfen ddwfr, er cael ei fedyddio.* Pe mabwysiadem ddarnodiad Dr. Halley o *baptizo* yn y clasuron, sef "gwneyd i wrthddrych fod yn y gwlybwr," a "chael ei orchuddio â'r gwlybwr," (*The Sacraments*, vol. i. p. 275. Ed. 1854,) mae yn amlwg y byddai raid i ni fedyddio trwy drochiad; oblegyd yr unig ffordd ymarferol i beri i ddynion fod yn y dwfr, a chael eu gorchuddio â dwfr, yw trwy eu tansuddo.

Modd bynag, ni all y defnydd ffugyrol o *baptizo* newid dim ar dystiolaeth cannoedd o engreifftiau eglur a diamwys o'i ystyr lythyrenol ac arferol, y rhai a ddysgant mai ei arwyddocâd yw *trochi*, *suddo*, *tansuddo*, a *gorchuddio.*

---

* Mae gwahaniaeth rhwng y cyfieithiad Cymraeg o 1 Bren. xviii. 35. a'r un Saesneg. Diau mai y Saesneg yw y cywiraf y tro hwn:—

"A'r dyfroedd a aethant o amgylch yr allor, ac a lanwodd y ffos â dwfr."—*Beibl Cymraeg.*

"And the water ran round about the altar, and he filled the trench also with water."—*Beibl Saesneg.*

## GWRTHDDADL IV.

### Y DEFNYDD A WNEIR O BAPTO YN YR YSGRYTHYRAU GROEGAIDD.

### § I. GWLYCHIAD CORPH NEBUCHODONOSOR MEWN GWLITH.

---

*Bapto yn y LXX am wlychiad corph Nebuchodonosor mewn gwlith—Yn cael ei ddefnyddio yn ffugyrol—Y gair Caldeaeg gwreiddiol—Tri gair Groeg yn cael eu defnyddio yn y LXX am y gair Caldeaeg—Cyflawnder mawr o wlith yn ngwledydd poethion y Dwyrain—Tystiolaeth Teithwyr—Y Cyfieithiad Syriaeg o'r gair—Ymadroddion cyffelyb yn mhob iaith.*

Defnyddir y gair *bapto* yn y LXX—y cyfieithiad Groeg o'r Hen Destament, am wlychiad corph Nebuchodonosor mewn gwlith, a chan mai disgyn yn dyner mae'r gwlith, dywedir fod *bapto* yn golygu taenellu. Defnyddir ef yn Daniel mewn modd ffugyrol; yr oedd corph Nebuchodonosor yn agored i wlith y nefoedd, fel ag y gorchuddiwyd ef ganddo; yr oedd yn ei amgylchu yn y fath gyflawnder, fel ag yr oedd yr effaith braidd yr un peth a phe buasai wedi ei drochi ynddo; a defnyddir *bapto* i osod allan mewn modd grymus y cyflawnder mawr o wlith â pha un yr amgylchid ef, drwy y ffugyr ei fod wedi ei *drochi* ynddo. Dymunwn sylw y darllenydd at y pethau canlynol:—

1. Y gair Caldeaeg a ddefnyddir i osod hyn allan. Mae llyfr Daniel wedi ei ysgrifenu mewn rhan yn yr Hebraeg, ac mewn rhan yn y Caldeaeg. Yn y Caldeaeg yr ysgrifenwyd y pennodau lle y sonir am droad brenin Babilon at anifeiliaid y maes. Cawn y gair dan sylw yn Daniel iv. 15. 23. 25. 33. v. 21. Y gair ydyw *tsebae* (צבע), yr hwn a olyga *trochi*, a *lliwio*, yr un modd a *bapto*, am mai trwy drochi yr arferid lliwio. (Gwel *Gesenius' Hebrew Lexicon. Barnes on Dan.* iv. 15.)

2. Edrychwn pa fodd y cyfieithid ef gan y Deg a Thrigain.

Dan. iv. 15.—"Gwlycher ef hefyd â gwlith y nefoedd," darlleniad y LXX yw, *Kai en tê drosô tou ouranou* KOITASTHESETAI="Ac efe a *orwedda i lawr mewn gwely*, neu *efe a gysga* yn ngwlith y nef."
Dan. iv. 23.—"A gwlycher ef â gwlith y nefoedd." LXX, "*Kai*

*en tê drosô tou ouranou* AULISTHESETAI "=" Ac efe a *dreulia y nos* yn ngwlith y nef." Yr un gair a geir hefyd yn Dan. iv. 25.

Dan. iv. 33.—"Gwlychwyd ei gorph ef gan wlith y nefoedd." LXX, *Kai apo* tês drosou tou ouranou to soma autou* EBAPHE=" A'i gorph ef a *drochwyd* yn ngwlith y nef." Y gair *bapto* a geir hefyd yn Dan. v. 21.

Gwelir fod y LXX wrth gyfieithu y ferf Galdeaidd *tsebae* i'r Groeg, wedi defnyddio tri gair am dani, sef KOITAZOMAI—*dodi mewn gwely, gorwedd i lawr mewn gwely;* AULIZOMAI—*lletya, treulio'r nos;* a BAPTO—*trochi, tansuddo, lliwio.*

Gan fod y cyfieithwyr yn defnyddio y gwahanol eiriau hyn wrth gyfieithu y gair gwreiddiol, golygent y byddai i'r brenin orwedd i lawr drwy'r nos yn yr awyr agored, ac y byddai y fath gyflawnder o wlith yn ei orchuddio, fel pe buasai wedi cael ei drochi ynddo.

3. Mae o bwys i ni gofio fod cyflawnder mawr o wlith yn y Dwyrain. Ymddengys hyn oddiwrth amryw ranau o'r Beibl, yn gystal ag oddiwrth dystiolaeth teithwyr. Fe wasgodd Gideon o'r cnu gwlan "*lonaid phiol o ddwfr.*" (Barn. vi. 38.) Cymhara y Salmydd fanteision a dymunoldeb cariad brawdol i *wlith Hermon.* (Salm cxxxiii. 3.) Mae y gwlith yn disgyn yn helaeth iawn yn y Dwyrain, ac yn gwneyd i fyny mewn rhan y diffyg o wlaw, gan beri i'r ddaear ffrwytho. (Cymharer Hag. i. 10. 1 Bren. xvii. 1. Zech. viii. 12.)

"Nis gallwn ni," ebe *Volney*, "trigolion tiriogaethau lleithion, ddeall yn hawdd pa fodd y gall gwlad fod yn ffrwythlon heb wlaw; ond yn yr Aipht, mae'r gwlith yn disgyn mewn cyflawnder yn y nos, ac yn gwneyd yn lle gwlaw." (*Travels, vol.* i. p. 51.)

Dr. E. D. Clarke, wrth ysgrifenu hanes ei daith o Aboukir i Rosetta, yn 1801, a ddywed:—

"Cawsom babell at ein gwasanaeth am y noswaith; yr oedd wedi ei dyblu, eto, yr oedd gwlith yr Aipht yn y fath gyflawnder ar ol machludiad yr haul, fel yr oedd y dwfr yn llifo yn helaeth i lawr ar hyd y pawl ag oedd yn dal ein pabell i fyny." (*Travels, vol.* iii. p. 365.)

Sonia teithwyr fod eu mantelli, ebe Dr. Eadie, "y rhai a blygent o'u hamgylch tra y cysgent, mor wlybion, a phe buasent wedi cael eu trochi yn y môr."

"Cawsom ein dysgu drwy brofiad," ebe *Maundrell*, "beth a olygai y Salmydd santaidd wrth '*wlith Hermon,*' oblegyd yr oedd ein pabellau mor wlybion oddi wrtho, a phe buasai wedi gwlawio trwy'r nos." (*Journey, March* 22.)

---

* Gwel tudal. 28, 29, ar y cystrawiad hwn.

Dywed *Dr. Shaw*, wrth son am y *niwl* a'r *gwlith* yn *Arabia Petrea*, "I'r un achos hefyd (sef gwres angerddol y dydd,) yn cael ei ddilyn gan oerni y nos, yr ydym i briodoli y cyflawnder o wlith, a'r tarth tew, annymunol hyny, o un o ba rai yr oeddym bob nos yn cael prawf rhy boenus. Yr oedd y gwlith, yn neillduol, (gan nad oedd genym ond y nef yn orchudd,) yn aml yn ein gwlychu yn wlyb at y croen." (*Dr. Shaw's Travels*, p. 440. Gwel hefyd *Barnes ar Job* xxix. 19. *Parkhurst's Hebrew Lexicon, o dan y gair* "*Tal.*" *Geiriadur Charles*, o dan y gair "*Gwlith.*" *Eadie's Biblical Cyclopædia*, o dan y gair "*Dew.*")

Yr oedd cyflawnder cyffelyb o wlith yn Babilon; ac os oedd Dr. Shaw "*yn wlyb at y croen*" gan y gwlith yn Arabia, a Maundrell *mor wlyb ganddo* wrth fynydd Hermon a *phe buasai wedi gwlawio trwy'r nos*, a dillad teithwyr mor wlybion ganddo a phe buasent *wedi eu trochi yn y môr;* nid rhyfedd, ynte, os dywedir fod corph Nebuchodonosor wedi cael ei *drochi* mewn gwlith.

4. Yr oedd cyfieithwyr y Beibl i'r Syriaeg o gymmydogaeth Babilon, ac felly yn hollol hysbys o'r gwlith yn y parthau hyny. Maent hwy yn rhoddi cyfieithiad llythyrenol o'r gair Caldeaeg *tsebae* yn mhob lle; y gair a roddant hwy am dano yw *tsabae*, yr hwn a olyga *trochi* neu *suddo*, yr un gair ag a ddefnyddiant am drochi yn Jos. iii. 15. a Ioan xiii. 26.

5. Ceir ymadroddion cyffelyb yn mhob iaith.

Dywedwn yn fynych am ddynion eu bod *wedi eu llyncu i fyny* gan ofid, neu *dros eu pen* mewn dyled. "Yr oeddych yn soddedig *(immersed)* yn ngofalon a phleserau y byd hwn," ebe Doddridge, ar Ephes. ii. 12. Sonia *Chrysostom* am fod yn "soddedig (*baptisthênai*) mewn tlodi," ac "yn suddedig (*bebaptismenoi*) mewn drygioni," ac awdwr arall fod "y gynnulleidfa yn soddedig (*bebaptismenên*) mewn anwybodaeth." Dywedir am un galarus ei fod yn *foddfa o ddagrau.* "*He retired bathed in tears*," ebe D'Aubigne am Zwingle. (*Hist. of the Reformation, vol.* ii. p. 387. *Ed.* 1855.) Ymadrodd cyffredin yn Saesonaeg yw, "*he plunged into the forest*," a'r cyffelyb. Ië, cymharai Mab Duw ei loesau i fôr tymhestlog i'r hwn y suddai, megys i ddyfroedd dyfnion. (Mat. xx. 22, 23.)

Gan hyny, edrychir ar Nebuchodonosor yn y fath gyflawnder o wlith, fel y darlunir ef mewn modd grymus a barddonol wedi cael ei drochi ynddo. Mae yr ymadrodd "*gwlychu gan wlith y nef*," yn ddesgrifiad rhy farwaidd o'r amgylchiad, ac yn *aralleiriad* o leferydd yr Ysbryd, yn hytrach *na chyfieithiad;* ond y mae "*trochi mewn gwlith*" yn ddesgrifiad bywiog a barddonol o hono, ac yn *gyfieithiad cywir* o'r testyn gwreiddiol. Os dywedodd yr Ysbryd Glân fod y

brenin wedi ei *drochi mewn gwlith*, ni raid i ninnau betruso gwneyd; ac y mae mor hawdd i ni ddeall y gair *trochi* mewn modd ffugyrol yma, a deall *baptizo* mewn modd ffugyrol yn Luc xii. 50. Rheol bwysig yw *fod ystyron ffugyrol geiriau i'w penderfynu oddiwrth eu hystyron llythyrenol ac arferol.*

---

## § II. TROCHI YR ADERYN BYW YN NGWAED YR ADERYN MARW.

*Yr Wrthddadl—Desgrifiad o'r amgylchiad—Ainsworth a Dr. Hales ar y pwynt.*

"YNA gorchymyned yr offeiriad i'r hwn a lanheir gymmeryd dau aderyn y tô, byw a glân, a choed cedr, ac ysgarlad, ac isop. A gorchymyned yr offeiriad ladd y naill aderyn y tô mewn llestr pridd, oddiar ddwfr rhedegog. A chymmered efe yr aderyn byw, a'r coed cedr, a'r ysgarlad, a'r isop, a throched (βάψει) hwynt a'r aderyn byw hefyd yn ngwaed yr aderyn a laddwyd oddiar y dwfr rhedegog." (Lef. xiv, 4—6.)

Dadleuir oddiwrth y geiriau uchod, gan nad all gwaed aderyn y tô fod yn ddigon i'r aderyn arall, a'r coed cedr, a'r ysgarlad, a'r isop, gael eu tansuddo ynddo, nad ydyw *bapto* yn y LXX yn golygu *suddo* a *thansuddo.*

1. Pa un bynag a drochid hwy yn y gwaed nes eu llwyr orchuddio ganddo ai peidio, ystyr *bapto* yma yw *suddo*, oblegyd yr oedd y pethau uchod yn cael eu trochi neu eu suddo i'r gwaed (*bapsei eis to haima*).

2. Yr oedd dwfr yn y llestr pridd, cyn y tywelltid gwaed yr aderyn marw iddo. "A chymmered y coed cedr, a'r isop, a'r ysgarlad, a'r aderyn byw, a throched hwynt yn ngwaed yr aderyn a laddwyd, *ac yn y dwfr rhedegog*," &c. (Lef. xiv. 51.) Wedi cymmeryd llonaid llestr pridd o ddwfr o ffrwd redegog, gollyngent waed un aderyn i'r dwfr i gydgymmysgu âg ef, ac yna trochent y pethau uchod i'r cymmysgedd yna, yr hwn a allai fod yn ddigon i lwyr orchuddio y cyfan. Math o ysgubell *(brush)* a wneid o honynt, yr hwn a ddarlunir fel hyn gan Maimonides:—

"Rhwymai yn nghyd yr isop a'r cedrwydd, gyda y gwlan ysgarlad wedi ei rwymo i fyny ar ei hyd; o'u hamgylch rhoddai adenydd a chynffon yr aderyn byw, a throchai y pedwar yn y dwfr a'r gwaed ag oedd yn y llestr, a thaenellai seithwaith ar y gwahanglwyfus, ac felly a ollyngai yr aderyn yn rhydd." (*Ainsworth's Annotations, Lef.* xiv. 6.)

Darlunia Dr. Hales (*Analysis, vol.* ii. *book* i. p. 273.) y ddefod fel y canlyn:—

"Yr oedd yr offeiriad i gymmeryd dau o adar bychain, ac i ladd un o honynt uwch ben llestr pridd llawn o ddwfr yr afon, fel y gellid cymmysgu y gwaed â'r dwfr. Yr oedd wed'yn i drochi yr aderyn byw i'r dwfr, a thaenellu y gwahanglwyfus âg ef seithwaith gyda ffon o goed cedr, ar yr hon yr oedd sypyn o isop wedi ei rwymo âg edef ysgarlad; ar ol yr hyn yr oedd yr offeiriad i'w gyhoeddi yn lân, a gollwng yn rhydd yr aderyn byw i'r awyr agored." (*Horne's Introduction, vol.* iii. p. 292. *Edition* 1822.)

Gwelir fod dwfr wedi ei gymmysgu â'r gwaed, ac o ran dim a ddywedir, yr oedd y llestr yn ddigon o'i faint a digon llawn i drochi y cyfan drostynt.

---

## § III. Y WISG WEDI EI THROCHI MEWN GWAED.

"Ac yr oedd wedi ei wisgo â gwisg wedi ei throchi (*bebammenon*) mewn gwaed: a gelwir ei enw ef, Gair Duw." (Dad. xix. 13.)

Dywedir fod y gair *bapto* yma yn golygu fod gwaed wedi *llychwino* neu *fritho* gwisg Mab Duw, yn debyg fel yr ystaenir gwisgoedd rhyfelwyr gan waed eu gelynion ar ddydd ymladd a rhyfel. Yr ydym wedi sylwi yn barod fod *bapto* yn golygu *lliwio* fel ei ystyr ailraddol, ac felly gellid darllen yr adnod uchod—"wedi ei lliwio mewn gwaed." Ond y mae yn hollol amlwg mai cael ei ddarlunio mae Mab Duw fel Cadlywydd yn eistedd ar farch gwyn, wedi ei wisgo â gwisg goch ysblenydd arferol ar y fath amgylchiad, ac yn *myned allan* i ddarostwng ei elynion, a lluoedd y nef yn *ei ganlyn*, yn hytrach nag *wedi bod* yn cael llychwino ei wisg yn y rhyfel. Nid darluniad o orchfygwr yn *dychwelyd* o frwydr wedi ei *lychwino* â gwaed ei elynion gorchfygedig, a roddir yn y bennod, ond o un yn MYNED ALLAN i'r rhyfel. Mae cleddyf llym dau finiog yn dyfod o'i enau, â'r hwn y mae *i daro* y Cenedloedd. Gwisg goch neu ysgarlad a fyddai gan y cadfridogion Rhufeinig, yn gyffredin, pan elent allan i ryfel. Dywed *Stuart* fod gan Grist *wisg goch* i arwyddo y lladdfa oedd i gymmeryd lle.

Dichon, modd bynag, mai y darlleniad cywir o'r testyn ydyw, "*wedi ei thaenellu* â gwaed," (Groeg, *rherantismenon*) megys ag yn y testyn a fabwysiadai Diwygwyr y cyfieithiad Seisnig o'r Testament Newydd, yn 1881; ac felly nad ydyw yr adnod yn dwyn cyssylltiad uniongyrchol nac anuniongyrchol â dadl bedydd.

## GWRTHDDADL V.

### YR WRTHDDADL AMERICANAIDD NEWYDD A THERFYNOL.

---

[YMDDANGOSODD y sylwadau o dan yr adran hon yn *Seren Cymru*, am Awst 15fed a'r 22ain, 1879, fel math o Adolygiad o eiddo yr awdwr ar lyfryn Mr. Heaton, yr hwn, fel yr ymddengys, a ystyrid gan ei edmygwyr yn anatebadwy. Argreffir yr Adolygiad yn y gyfrol hon ar gais rhai cyfeillion, er iddynt ei gael mewn ffurf fwy cyfleus a pharhaol. Dodwn ef yma fel yr ymddangosodd yn *Seren Cymru*, gyda'r eithriad o ychydig o frawddegau, heb fod yn dwyn cyssylltiad uniongyrchol â'r pwnc, er fod ei ddodi yn gyflawn yn achosi, o bossibl, ail adroddiad ychydig frawddegau yn nghorph y gyfrol, a chyfeiriad anamserol at "DDEILIAID BEDYDD;" ond buasai gadael darnau allan, neu ei dalfyru, yn dinystrio llinnell yr ymresymiad. Gwna yr Adolygiad arbed y gwaith o gyfansoddi adran neillduol ar yr Arddodiaid, ag sydd yn rhoddi cymmaint o rwystr ar ffordd rhai.]

NEW AND DECISIVE EVIDENCE OF THE MODE OF BAPTISM. *By Rev. Isaac E. Heaton, Fremont, Nebraska. Swansea: E. and J. Griffiths.* 1877.

Nis gallem beidio gwênu wrth ddarllen enw y llyfryn uchod, o herwydd y warogaeth y mae yr awdwr yn dalu i'w anffaeledigrwydd ei hun, a'r dirmyg a dafla ar gynnyrchion ei frodyr. Mae ei dreiddgarwch yn rhagori ar eiddo pob un a fu o'i flaen, oblegyd dywed fod ei "*evidence*" yn newydd; ac y mae ei fedrusrwydd yn fwy nag eiddo unrhyw awdwr taenellyddol arall, oblegyd y mae ei brawf yn derfynol. Mae yn addaw yn dda, beth bynag; ac yn chwythu yn egniol yn ei udgorn ei hun, gan nad beth a ddaw o enwogrwydd ei frodyr.

Wedi'r cwbl, mae yn bwysig cael "*Decisive Evidence*" o'r diwedd dros daenelliad, oblegyd ni welsom ni erioed un math o *real evidence* drosto yn ein bywyd. Os oes yma *evidence* o'r iawn ryw, dylid ei chydnabod yn ddifloesgni, a thalu gwarogaeth iddi ag sydd yn deilwng o wirionedd. Ond nid ydym am gymmeryd twyll-resymau yn lle *evidenee*, na haeriadau yn lle *arguments*, na dychymmygion yn lle profion; ac os nad oes *evidence* deilwng o'r enw yn y llyfryn oraclaidd hwn, rhaid i ni ei droi o'r llys fel ymyrwr diawdurdod, a'i gollfarnu fel un yn honi gwrandawiad "*under false pretences.*" "*Fiat justitia, ruat cœlum!*"

Ond ni a brysurwn i adael i'r darllenydd wybod beth yw y *decisive evidence*—y prawf terfynol dros Ddwyfoldeb taenelliad, ac i weled pa mor derfynol ydyw. Y prawf mawr terfynol yn marn yr awdwr—prawf y profion i gyd, yw yr hyn a ganlyn, yr hyn, eb efe, sydd yn sylfaenedig ar "*Greek usage*," hyny yw, cofier, ei "*usage*" ef o'r iaith Roeg, ac nid "*usage*" awdwyr Groegaidd.

## I. Rheol anffaeledig yr awdwr i benderfynu Dull Bedydd.

Pan y golygir myned i mewn i unrhyw wrthddrych, mae y ferf yn y Groeg yn un gyfansawdd o'r ferf yn ei ffurf syml a'r arddodiad, a cheir arddodiad arall yn dilyn. Fel hyn:—erchomai=*myned;* erchomai eis=*myned at;* eiserchomai eis=*myned i mewn i.* Dyma eiriau yr awdwr ei hun:—

"When Matthew, Mark, or any writer in the New Testament, would mention that a person goes *towards* a certain locality, or *near to* it, but not *into* it, or within its limits, he uses the verb in its simple form. John iv. 5: Jesus (*erchomai*) cometh (*eis*) to (rather, *near to*) a city of Samaria called Sychar. He sat upon Jacob's well, *outside* the village. But when he would say (Matt. x. 11.) *into* whatsoever city or town ye *enter*, he repeats or doubles the preposition *eis*. Instead of the simple verb *erchomai* he uses the compound verb EIS*erchomai*." (Tudal. 9.)

Dyna y rheol anffaeledig, a dyna y prawf terfynol, ag sydd i roddi dyrnod farwol i fedydd trwy drochiad dros byth! Ond a ydyw y rheol yn safadwy, a'r prawf yn gadarn? Drwg genym ddweyd *nad ydyw yn werth yr inc â pha un yr ysgrifenwyd ef, ac nid oes mwy o sail iddo nag i balasau y tylwyth têg.* Golyga *erchomai eis* FYNED I MEWN I, yn ogystal ag *eiserchomai eis*, a defnyddia y gwahanol ysgrifenwyr santaidd y naill ymadrodd fel y llall i osod allan *myned i mewn i* unrhyw beth neu le.

Fe wasanaetha yr ychydig engreifftiau canlynol i droi y rheol yn ol yn llwyr ac am byth, ac i brofi yr hyn a nodasom.

Mat. ii. 11. "A phan aethom i'r tŷ (*erchomai** *eis*)" &c.
ii. 21. "Ac a ddaeth i dir (*erchomai eis*) Israel."
viii, 28. "Ac wedi ei ddyfod ef i'r lân arall (*erchomai eis*), i (*eis*) wlad y Gergesiaid."
ix. 1. "Ac a ddaeth i'w ddinas ei hun (*erchomai eis*)."
ix. 28. "Ac wedi iddo ddyfod i'r tŷ (*erchomai eis*)."

---

* Rhag dyrysu yr annghyfarwydd, defnyddir gwreiddair y ferf yn mhob man, ac nid y ffurf yn yr hon y dygwydd.

Mat. xii. 9. "Efe a ddaeth i'w synagog hwynt (*erchomai eis*)."
xxi. 23. "Ac wedi ei ddyfod ef i'r deml (*erchomai eis*)."
xxvii. 33. "A phan ddaethant i le (*erchomai eis*) a elwid Golgotha."
xxviii. 11. "Rhai o'r wyliadwriaeth a ddaethant i'r ddinas (*erchomai eis*)."
Marc i. 29. "Hwy a ddaethant i dŷ Simon (*erchomai eis*)."
iii. 19. "A hwy a ddaethant i dŷ (*erchomai eis*)."
vi. 1. "Ac a ddaeth i'w wlad ei hun (*erchomai eis*)."
viii. 22. "Ac efe a ddaeth i Bethsaida (*erchomai eis*)."
ix. 33. "Ac efe a ddaeth i Capernaum (*erchomai eis*)."

Gwel hefyd Marc xi. 21. Luc iv. 16. 45. xiv. 1. xv. 6. Act. viii. 40. xiii. 51. xiv. 24. xv. 30. xviii. 7. xix. 1. xxii. 11. xxviii. 16. Gal. ii. 11. &c., &c.

Yn Mat. viii. 32. Marc v. 13. a Luc viii. 33. ceir y ferf *hormaô* yn ei ffurf syml gydag *eis* yn dilyn, i ddesgrifio gwaith y genfaint foch yn rhuthro i'r llyn; ac yn Act. xix. 29. ceir yr un ferf a chystrawiad am waith y dorf yn rhuthro i'r chwareufa.

Yr un fath y saif pethau gyda'r berfau ereill a noda yr awdwr. Cymmerwn un o honynt fel engraifft. Dywed mai ystyr *poreuomai* yw *myned*, ac mai *eisporeuomai*, yn cael ei ddilyn gan *eis*, yw *myned i mewn i*. Gwna y naill neu y llall y tro, yn hollol yr un fath a chydag *erchomai* ac *eiserchomai*.

Mat. ii. 20. "Dos i dir Israel (*poreuomai eis*)."
xxi. 2. "Ewch i'r pentref (*por. eis*)."
xxviii. "A aethant i Galilea (*por. eis*)."
Marc xvi. 12. "Yn myned i'r wlad (*por. eis*)."
xvi. 15. "Ewch i'r holl fyd (*por. eis*)."
Luc i. 39. "Ac a aeth i'r mynydd-dir (*por. eis*)."
v. 24. "Dos i'th dŷ (*por. eis*)."
vii. 11. "A bu iddo fyned i ddinas (*por. eis*)."
Ioan vii. 53. "A phob un a aeth i'w dŷ ei hun (*por. eis*)."
1 Tim. i. 3. "Pan aethum i Macedonia (*por. eis*)."
1 Pedr iii. 22. "Wedi myned i'r nef (*por. eis*)."

Ond mae yr awdwr mor gywrain ag ydyw o ryfygus. Wrth deimlo gwendid ei resymau, y mae yn ymosod ar y cyfieithiad er ei ystwytho i blygu i'r rheol newydd. "A phan ddaeth yr Iesu i dŷ y penaeth." (Mat. ix. 23.) "*At* y tŷ" a ddylasai fod, ebe yr oracl; gan mai oddi allan yr oedd y cerddorion a'r dyrfa. Ar ol hyn yr aeth i'r tŷ, ebe'r awdwr. "Ac wedi bwrw y dyrfa allan, efe a aeth i mewn, ac a ymaflodd yn ei llaw hi." (adn. 25.) Pa eisieu "bwrw

allan," os allan yr oeddynt eisioes? Mwy cywir o lawer yw sylw Meyer, fod adn. 23. yn dysgu ei fynediad i mewn i'r tŷ, ac adn. 25. ei fynediad i'r ystafell yn yr hon yr oedd y marw.

Ceisia yr awdwr arwynebol hwn wneyd yn ysgafn â phethau ag y mae synwyr cyffredin pob dyn yn ddigon o gyfarwyddyd iddo o barthed iddynt. Megys os honwn fod *eis* yn golygu *myned i mewn i* wrthddrych mewn rhai lleoedd, fod yn rhaid i ni ei ddeall felly yn wastad; ac os honwn fod myned i waered i'r dwfr yn golygu myned i mewn i'r elfen, yna fod myned i'r mynydd yn golygu myned i ogofeydd neu dyllau islaw ei arwynebedd! Mae y fath wrthddadl yn rhy ddirmygus i deilyngu ystyriaeth; ond rhag y dichon fod yr awdwr wedi cenedlu meibion ar ei ddelw ei hun, dywedwn fod *common sense* y Cymry yn eu dysgu nad ydynt pan yn son am fyned i'r mynydd, neu y maes, neu yr ardd, yn golygu myned i ogof neu dwll, ond o fewn amgylchedd y mynydd, y maes, neu yr ardd; pan y sonir am forwyr yn myned i'r môr i fordeithio, neu bysgotwyr yn myned i'r môr i bysgota (Mat. xvii. 27.), golygir hefyd, yn ol llafar gwlad, eu bod i ddwyn eu gorchwylion yn mlaen o fewn amgylchedd y dyfroedd; ond pan y sonir am un yn myned i waered i'r dwfr, neu wrthddrych yn cael ei daflu i'r dwfr, golygir ei fod yn myned i mewn, nid yn unig i'w amgylchedd, ond i'r elfen ei hun. (Mat. viii. 33. Jonah i. 15. 2 Bren. vi. 5., &c.)

Wedi esbonio y Rheol Anffaeledig—sef y "*New and Decisive Evidence*," mae yr awdwr ei hun yn myned yn mlaen i'w thynu i lawr a'i mathru o dan ei draed, yr hyn sydd yn dangos nad yw o un gwerth beirniadol, hyd y nod yn ei olwg ef ei hun. Mae i'r Rheol Anffaeledig ddwy neu dair o eithriadau, eb efe, ac un ydyw,— "*Where the fact of motion* into *some locality is* self-evident, *this Greek usage is omitted, precisely as in English.*" Pan y mae symmudiad i mewn i wrthddrych neu le yn hunan-eglur, nid yw y rheol yn cael ei chadw! Carem ofyn, Pwy sydd i farnu pa un a fydd y mynediad i mewn yn hunan-eglur ai peidio? Y peth a ddichon fod yn eglur i Annibynwr a ymddengys yn gymmysglyd iawn i Fedyddiwr, yn enwedig os yw y llyfr hwn yn engraifft o'r hyn sydd ganddynt i'w gyflwyno i'n hystyriaeth. Ond gwrandawn ar yr awdwr. Mae yn hunan-eglur fod y moch wedi myned i'r dwfr, gan iddynt foddi yno! Ha wŷr bach, dyna ddarganfyddiad! Mae yn hunan-eglur i'r ysgrifenydd, modd bynag, eu bod wedi myned i'r dwfr, pe na fuasai son eu bod wedi boddi, gan fod y gair yn dweyd eu bod wedi rhuthro iddo. Fe fwriodd Pedr ei hun i'r môr (Ioan xx. 7.), ond trwy drugaredd ni foddodd; mae'n debyg na chreda yr awdwr dyfnddysg hwn a'i edmygwyr iddo fwrw ei hun i'r môr o gwbl, gan nad ychwanegir ei fod wedi boddi! Ond y mae mor hunan-eglur i

Fedyddwyr fod Cristionogion yr oes apostolaidd wedi bod yn y dwfr, a chael eu tansuddo ynddo (gan y dywedir eu bod wedi cael eu cydgladdu â Christ yn y bedydd, a'u cydgyfodi hefyd gydag ef yn yr un ordinhad), ag ydyw i'r awdwr dan sylw fod y moch wedi myned i'r dwfr o herwydd yr hyn a ddywedir yn mhellach o barthed iddynt hwy.

Mae yr awdwr hwn yn chwareu y ffon ddwybig: y "*New and Decisive Evidence*" sydd ar un adeg i reoleiddio pob peth; ond gan fod ugeiniau o engreifftiau (amryw o ba rai a ddyfynwyd yn barod) yn gwrthbrofi hòno, yna gwaedda fod yn rhaid i'r eithriadau, ynte, fod yn hunan-eglur. Hunan-eglur i bwy? Ni fydd dim yn eglur i ddyn a fyddo yn edrych ar bob peth trwy wydr coch rhagfarn,—coch fydd pob peth i hwnw; a chan nad yw bedydd yr efengyl wedi ennill edmygedd yr awdwr hwn, nid yw yn eglur iddo ef mai trwy drochiad y dylid bedyddio, tra mae hyny mor eglur a'r haul i filoedd ereill. Nid ei olygon byrion ef, na'i chwaeth lygredig, yw y safon i farnu rhwymedigaethau crefyddol, ond lleferydd eglur a diammwys yr Ysbryd Glân. "At y gair, ac at y dystiolaeth," &c.

Wele ni yn awr wedi chwalu y "*Nebraska Argument*" i'r llawr, yn llwyr ac am byth. Y fath ddallineb a raid fod ar y neb a gredai y fath freuddwyd gwyllt!

Ond yn nghysgod y "*decisive evidence*," mae gan yr awdwr gyfeiriadau at yr hen brofion *indecisive* ag y dylem, fe ddichon, wneyd sylw byr arnynt wrth fyned heibio.

1. *Yr Arddodiaid.*

Mae y rhai hyn o dan ei ddwylaw ef yn golygu unrhyw beth, neu bob peth, neu ddim. Pe yr esbonid holl ymadroddion y Beibl fel ag yr esbonia hwn yr arddodiaid, fe ddiflanai crefydd ysbrydol yn fuan o'r tir. Os gwna *eis* weithiau olygu *tuag at, gyda golwg ar*, mae yr engreifftiau lliosog a ddygwyd yn mlaen yn barod yn dangos yn eglur ei fod yn fynych yn golygu *into=i mewn i.*

"*Eis*, a preposition, with the primary idea of motion *into* any place or thing, and then also of motion or direction *to*, *towards*, *upon*, any place or object. The antithesis is expressed by ek, *out of.*" (*Dr. E. Robinson's Gr. Lexicon.*)

Mae'n debyg na wyddai yr arwr o Nebraska mai yr un gair mewn ffurf arall yw *esô* y cyfeiria mor aml ato, ag *eis*, a bod *esô* yn cael ei ddefnyddio, fel y sylwa Winer (*Gram. of the N. T. Greek. Ed.* 1870. p. 592.) i ddynodi *gorphwysfa o fewn* ("*rest within*"); neu na fuasai yn ysgrifenu,—"*We cannot doubt that, if Mark had wished to inform the world that our Saviour was immersed* in *Jordan, he would have*

*used* esô." Pe defnyddiasai *esô,* buasai yn cynnwys *fod Ioan wedi tansuddo Crist, a'i gadw i orphwys am amser o dan y dwfr!!* Gwel y defnydd a wneir o *esô* yn y Testament Newydd a'r LXX. (Ioan xx. 26. Act. v. 23. Gen. xxxix. 11. Lef. x. 18. Ezec. ix. 6.)

Pe buasai ysgrifenwyr y Testament Newydd wedi defnyddio y cystrawiad a ddylasent yn ol yr awdwr hwn, os am ddysgu trochiad, sef *baptizo esô,* buasai y geirweddiad yn arddangos y fath farbareiddiwch o ran iaith, a'r fath greulondeb o ran syniad, ag fuasai yn rhwystro pob Groegwr a Rhufeinwr diwylliedig i ddefnyddio y llyfr a gynnwysai y fath ieithwedd; tra mae y cystrawiad a ddefnyddir,—sef *baptizo en*=to immerse in, a *baptizo eis*=to plunge into,—yn berffaith gysson âg ystyr y gair *baptizo,* ac â ieithwedd awduron Groegaidd yn mhob oes a gwlad.

Nid yw yr awdwr hwn yn cydnabod fod *ek* yn dysgu *allan o,* ond mai *exô* sydd yn gwneyd hyny; ond yr un gair yw y ddau mewn gwahanol ffurfiau, ac os nad yw *ek* yn golygu *allan o,* nis gall *exô* byth gyfleu y syniad hwnw. Mae y gwahaniaeth rhyngddynt yn debyg i'r hyn sydd rhwng *eis* ac *esô* neu *eisô.* Golyga ek *allan o,* mor bendant ag *exô.*

"*Ek,* a prep. with the primary signification *out of, from, of;* Lat. *e,* or *ex;* spoken of such objects as before were *in* or *within* another, but are now separated from it, either in respect of place, time, source or origin, etc. It is the antithesis of *eis.*" *(Dr. E. Robinson's Gr. Lexicon.)*

Gwel Mat. ii. 6. 15. vii. 5. Luc ii. 4. iv. 35. Dad. ix. 2. &c., &c.

Golyga *apo*—oddiwrth, mewn modd cyffredinol, ond cynnwysa yr *ek* yn fynych ynddo ei hun, ar yr egwyddor fod y mwyaf yn cynnwys y lleiaf. O herwydd hyn, defnyddir ef yn fynych am *allan o,* ac yn gylch-gyfnewidiol ac yn gyfystyr âg *ek:* gwel Mat. vii. 4, 5. xvii. 18. Marc i. 25, 26. Luc ii. 4. iv. 35. ix. 5. Ioan iv. 30. xi. 1. (Gwel *Robinson's Lexicon* o dan *apo. Note* i.)*

Cydnebydd yr awdwr fod *en* yn golygu *o fewn, yn,* pan y mae yr engreifftiau yn hunan-eglur. Y fath *concession!* Ni wiw eu gwadu y pryd hwnw. Yr anhawsdra yw, fod pethau yn fynych yn hunan-eglur i'r ymofynydd diduedd, tra nad oes dim yn eglur i'r

---

*Mae engreifftiau i'w cael yn y rhai y defnyddir *apo* i osod allan ymddadsuddiad o'r elfen ddwfr. "A'r bachgen a aeth i lawr i ymolchi, a neidiodd pysgodyn o'r afon (*apo tou potamou*), ac a fynai ei lyncu ef." (Tobit. vi. 2.) "Ac fel yr oedd efe yn ymddadsuddo o'r dwfr (*anaduntos autou apo tou hudatos*)," ebe Justin Ferthyr am fedydd Crist, "disgynodd yr Ysbryd Glân arno ef megys colomen." (*Dialogue with Trypho,* § 88.)

hwn na fyno weled. Pan y sonir am hau ŷd yn (*en*) y maes, dodi y corph yn (*en*) y bedd, a phreswyliad Crist yn (*en*) y nefoedd (Mat. xiii. 24. xxvii. 60. Act. vii. 16. Ephes. i. 20. Heb. i. 3.), mae yr engreifftiau yn rhy eglur i gyndyn ddadleu o barthed iddynt; ond nid felly gydag *en* pan o flaen dwfr! Pa drosedd y mae y dwfr wedi ei wneyd, tybed? Modd bynag, *bod o fewn* yw ystyr briodol *en*, gan nad lle y dygwydda, er ei fod yn fynych yn cael ei gymmeryd fel yn gyfystyr ag *â*: megys "lladd â chleddyf" (*en machaira*), (Dad. xiii. 10.); "myned i mewn â gwaed" (*en haimati*), (Heb. ix. 25.); hyny yw, bod wedi ei wisgo mewn arfogaeth cleddyf, a bod wedi ei amgylchu â haeddiant gwaed. "Ar filwrio o honot ynddynt (*en autais*) filwriaeth dda." (1 Tim. i. 18.) "*Equipped with them, as it were, as the soldier fights* in *armour.*"—*Winer's Gram.* p. 484. "*The* en *of investiture,* in *or* with; *as when we say, the general came* in *his sword, the peers* in *their robes.*"—*Dr. Green's Hand-book to the Gram. of the Greek Testament,* p. 261.) Gwna Dr. Alford y sylw canlynol ar *en* yn Heb. ix. 25.:—"En, *not instrumental, but elemental; he enters, furnished with, as it were clad with, that which follows.*"

Felly, bedyddio mewn dwfr yw soddi un ynddo, fel y byddo yn cael ei amgylchu a'i orchuddio gan yr elfen. Bedyddio yn yr Ysbryd Glân sydd ymadrodd ffugyrol seiliedig ar ystyr lythyrenol y geiriau, ac yn golygu bod yn orchuddiedig â dylanwadau yr Ysbryd o ran yr enaid—meddu ei ddylanwadau mewn cyflawnder helaeth; a bedyddio mewn tân yw gwaith yr Iesu yn bwrw ei elynion i ingoedd colledigaeth.

2. *Brawddegau yn nglyn â hanes gweinyddiad bedydd.*

Defnyddir y geiriau *katabaino eis*=myned *i waered i'r* dwfr, yn hanes bedydd yr Eunuch (Act. viii. 38.), ac *anabaino apo* ac *anabaino ek*=*dyfod i fyny oddiwrth, allan, o'r* dwfr, yn hanes bedydd Crist a'r Eunuch (Mat. iii. 16. Act. viii. 39.); ond mae yr awdwr dan sylw wedi cymmeryd ei ddallu cymmaint gan y "*new evidence,*" fel y gwada ystyr arferol y geiriau hyn. "*These verbs, katabaino,* go down, *and anabaino,* come up, *are used about eighty times. In not one case of ten is either used even to imply motion* into *any locality, or* out of *it. In* not one case *is either verb so used, unless where the sense renders it self-evident.*" (Tudal. 24.) O! ïe, rhaid cadw y "*self-evident*" wrth law fel *loophole* i'r awdwr. Hunan-eglur i bwy a olygir? Mae mor hunan-eglur i ni a'r dydd fod y geiriau yn Act. viii. 38, 39., a Mat. iii. 16., yn dysgu fod Crist a'r Eunuch wedi myned i'r dwfr, cael eu bedyddio ynddo, ac yna eu bod wedi dyfod allan o hono.

Wele ychydig o engreifftiau lle y defnyddir y geiriau, a barned y darllenydd drosto ei hun. Mae rhai o honynt wedi eu cymmeryd o'r

Septuagint (LXX.), ac ereill o'r Testament Newydd. Troed y darllenydd i'r adnodau:—

Gen. xlvi. 3. "Myned i waered i'r Aipht (*katabaino eis*)."
Num. xvi. 30. 33. "Disgyn i uffern (*kat. eis*)."
Jos. iii. 16. "Disgyn i'r môr (*kat. eis*)."
Barn. vii. 10. "Dos i waered i'r gwersyll (*kat. eis*)."
2 Sam. xi. 8. "Dos i waered i'th dŷ (*kat. eis*)."
Salm xxviii. 1. "Disgyn i'r pwll (*kat. eis*)."
Esai. xxx. 2. "Disgyn i'r Aipht (*kat. eis*)."
Ezec. xxvi. 20. "Disgynant i'r pwll (*kat. eis*)."
xxxii. 24, 25. 29, 30. "Disgynant i'r pwll, &c. (*kat. eis*)."
Marc xiii. 15. "Disgyn i'r tŷ (*kat. eis*)."
Luc x. 30. "Myned i waered i Jericho (*kat. eis*)."
xviii. 14. "Myned i waered i'w dŷ (*kat. eis*)."
Ioan ii. 12. "Myned i waered i Capernaum (*kat. eis*)."
v. 4. "Disgyn i'r llyn (*kat. en*)."
Act. vii. 15. "Myned i waered i'r Aipht (*kat. eis*)."
Gwel hefyd Act. viii. 26. xiv. 25. xvi. 8. xviii. 22. xxv. 6. Rhuf. x. 7. Ephes. iv. 9, &c.

Wele chwech ar hugain o leiaf o engreifftiau lle y golyga y geiriau *katabaino eis*, *fyned i lawr i* dŷ, gwlad, tref, neu ddwfr, yn ol ansawdd y frawddeg, ac nid *tuag atynt* yn unig; eto, dywed yr awdwr, "*In not one case of ten is the verb used even to imply motion* into *any locality!!*"

Mae y ffeithiau yr un mor eglur o barthed ystyr *anabaino ek*, sef y geiriau a geir yn Act. viii. 39., am *ddyfod i fyny o'r dwfr*, y rhai a olygant, yn ol yr awdwr, *dyfod i fyny oddiwrth* y dwfr. Ceir y geiriau dan sylw yn y lleoedd canlynol:—

Gen. xli. 2, 3. "Esgyn o'r afon (*anab. ek*)."
Ecsod. xliii. 18. "Myned allan o'r Aipht (*anab. ek*)."
1 Sam. i. 3. "Myned i fyny o'r ddinas (*anab. ek*)."
Ezra vii. 6. "Myned i fyny o Babilon (*anab. ek*)."
Luc ii. 4. "Myned i fyny o ddinas Nazareth (*anab. ek*)."
Dad. viii. 4. "Esgyniad y mwg allan o law yr angel (*anab. ek*)."
ix. 2. "Mwg yn codi o'r pydew (*anab. ek*)."
xi. 7. "Bwystfil yn dyfod allan o'r pydew (*anab. ek*); o'r môr (*anab. ek*), xiii. 1.; ac o'r ddaear (*anab. ek*)." xiii. 11.

Mae *anabaino apo* yn cael eu defnyddio yn gyfystyr ag *anabaino ek:*

cymharer Ezra ii. 59. âg Ezra vii. 6., a Mat. iii. 16. âg Act. viii. 39.

Yn Mat. xvii. 27, defnyddir *anabaino* am waith y pysgodyn yn llamu i fyny o'r dwfr er ymaflyd yn y bach.

Er y pethau hyn oll, haera yr awdwr hwn fod yn rhaid cael *exo* ac nid *ek*, i olygu *allan o!!*

3. *Bedydd trwy drochiad yn anymarferol.*

"Y mae erioed wedi ymddangos yn anhygoel i ni, y buasai y Gwaredwr yn dewis dull bedydd mor anhawdd i hanner y byd." (Tudal. 32.) Prinder dwfr sydd yn achosi y syndod hwn. Ond beth am Swper yr Arglwydd? Nid yw y winwydden yn tyfu mewn llawer o wledydd, ac eto mae dysgyblion Crist i gofio am ei farwolaeth ef, yn ol ei gyfarwyddyd a'i esiampl ef, yn mhob man hyd oni ddelo. Os nad allant gael gwin, dylent aros heb weinyddu yr ordinhad hyd adeg fwy cyfleus, ac nid newid yr elfenau; ac os na fydd dwfr i fedyddio yn y gymmydogaeth, arosed y gweinyddydd a'r ymgeisydd hyd nes y ceir peth, yn hytrach na rhyfygu newid y dull.

Gadawn ar hyn o bryd rai haeriadau ereill yn y llyfryn, er mwyn sylwi ar esboniad yr awdwr ar fedydd ceidwad y carchar.

## II. Deiliaid Bedydd.

O holl ryfedd bethau yr awdwr anffaeledig hwn, y peth rhyfeddaf a gwrthunaf yw ei waith yn ceisio profi hawl babanod i fedydd oddiwrth hanes ceidwad y carchar. Yn lle, "Ac a fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu," (Act. xvi. 34.) cawn y feirniadaeth ganlynol:—

"Yn yr adnod dan sylw, mae rhagferf *(panoiki)* yn cael ei defnyddio. Nis gall rhagferf fod yn y rhif liosog. Y cyfieithiad llythyrenol a fyddai hwn:—Efe a lawenychodd *yn deuluaidd*, neu *o herwydd ei deulu*...........Efe a lawenychodd o herwydd ei dŷ, *gan ei fod* EF EI HUN *wedi credu* yn Nuw. Mae y rhan-gymmeriad *(pepisteukôs)*, yr hwn sydd yn y rhif unigol, rhyw wrywaidd, yn profi mai efe, ac efe yn unig, oedd yn credu." (Tudal. 48, 49.)

Cafodd y *Beirniad* adeiladaeth ryfeddol gyda'r dernyn mawreddog hwn; ond y mae mor ddisail ag ydyw o "newydd." Dywed yr awdwr nas gall rhagferf fod yn y rhif liosog! "*New*" eto, os nad "*decisive*." Ond at y prawf. Math o air cyfansawdd, yn y *dative case*, yn cael ei ddefnyddio fel rhagferf, yw πανοικί *(panoiki)*, yn lle y ffurf fwy henafol πανοικίᾳ, neu πανοικησίᾳ *(panoikia* neu *panoikêsia)*. Cyfieithiad Dr. E. Robinson o *panoiki* yw, "*with all one's household;*" cyfieithiad Liddel a Scott yw, "*with all the house, household and all.*" Defnyddir rhai geiriau ereill yn y *dative case* fel rhagferf, yn hollol

yr un fath a *panoiki* yn Act. xvi. 34; cymmerwn πανστρατιᾳ (*panstratia*) *with the whole army=gyda'r holl fyddin*, fel engraifft:—

Herod. I. 62. "Ant gyda'r holl fyddin (*panstratiê*) yn erbyn y goresgynwyr."
III. 39. "Efe a gymmerodd yn garcharorion y Lesbiaid, y rhai a ddaethant i gynnorthwyo y Milesiaid gyda'u holl fyddin (*panstratiê*)."
Gwel hefyd Thucicydes VI. 7.

Yn ffodus, fe ddygwydda y gair *panoiki* ei hun yn yr ysgrifeniadau clasurol, Josephus, a'r LXX:—

Thucydides II. 16. "Gan eu bod gyda'u teuluoedd (*panoikêsia*) wedi ymsefydlu a byw yn y wlad."
III. 57. "Tra y gwnelech chwi ei dileu (sef y ddinas Platæa) gyda'i holl deuluoedd (*panoikêsia*) allan o genedl gyffredinol y Groegiaid."
Josephus, Antiq. iv. 4. § 4. "Yr oedd cyntafanedig pob anifail pedwar troediog a ddygid i fod yn aberth, os yn wryw, yn cael ei gyflwyno i'r offeiriaid i'w offrymu, ac wedi hyny i gael ei fwyta ganddynt hwy a'u teuluoedd (*panoiki*) yn y ddinas santaidd."
Ecsod i. 1. "Dyma yn awr enwau meibion Israel, y rhai a ddaethant i'r Aipht; gyda Jacob y daethant, bob un gyda'i deulu (LXX. *panoiki*)."

Ai er mwyn ei deulu yr aeth Jacob i'r Aipht, gan eu gadael hwynt ar ol? Ai er mwyn eu teuluoedd yr oedd yr offeiriaid yn bwyta, gan eu gadael hwy ar eu cythlwng? A wna esboniad yr awdwr y tro yn yr engreifftiau ereill? Doder synwyr cyffredin ar y fainc i benderfynu.

Dywed Meyer fod "gyda'i holl dŷ" i'w gyssylltu â'r rhan-gymmeriad "gan gredu." Yr ystyr yn ol Alford yw, "Efe a lawenychodd oblegyd ei fod ef gyda'i holl deulu wedi cael eu dwyn i gredu."

Ni fydd i ni aros gyda bedydd teuluoedd a'r enwaediad fel pethau sydd yn profi cyfreithlondeb bedydd babanod, gan nad ydynt yn marn yr awdwr ond *probable evidence*, tra yr ystyria yr *argument* oddiwrth *panoiki* yn *decisive!* Os yw hon yn *decisive*, ac os dyma sylfaen gadarnaf bedydd babanod, mae ei gwymp gerllaw, a'i ddiflaniad yn agos.

## III. Gwrthebion Cyffredinol i'r Llyfryn.

Nid oes genym duedd i fyned ar ol holl haeriadau yr awdwr, ond gwnawn ychydig o nodiadau cyffredinol ar y llyfryn, er dangos ei annhegwch a'i wendid.

1. Y mae yn annghydnabod y defnydd a wneir o'r gair *baptizo* yn yr ysgrifeniadau clasurol a Josephus.

Ymddyga tuag at *baptizo* fel pe buasai yn air mud, diystyr, heb un arwyddocâd neillduol yn perthyn iddo. Ymddibyna y cwbl, eb efe, ar yr arddodiaid. (Tudal. 7. 9. 18. 22 ) Noda Rhuf. vi. 4. y ffaith, eb efe, o fedydd y Rhufeiniaid, *heb gyfeirio at y dull!* (Tudal. 35.) tra y dywed Conybeare a Howson fod yn anmhossibl deall y geiriau *os anghofir y dull.*

Tybier fod prawf mewn llys barn, a bod Dadleuydd y Goron yn gwahardd i'r prif dyst siarad—yr unig dyst a allai roddi *direct evidence*, tra na fyddai *evidence* pob un arall ond *circumstantial*, gan barhau i'w annghydnabod fel pe na fuasai yn bresennol, a'i drafod fel pe buasai yn fud a byddar, yn *mummy* perffaith yn y lle; beth a dybid am ymddygiad felly? Dyna ymddygiad Dadleuydd Nebraska tuag at fedydd. Ond dyna'r Barnwr yn gorchymyn o'r diwedd fod yn rhaid i'r tyst (*baptizo*) gael siarad. Cyn iddo gael amser i agor ei enau, bloeddia y Dadleuydd o Nebraska,—Nid ydyw ei dystiolaeth yr un peth yn y llys ag allan o hono. ("*The classical usage may differ from the Scripture usage.*"—"Baptizo, *in Christian usage, does not signify immerse:*" Tudal. 38. 40.) Myna y Barnwr i *baptizo* gael llefaru drosto ei hun, yr hwn a ddadganai mai ei dystiolaeth ef oedd *trochi*. Bloeddia'r Dadleuydd,—Nad oedd y tyst yn meddwl yr hyn oedd yn ei ddweyd—ei fod yn golygu fod trochi (*baptizo*) a thaenellu (*rantizo*) yr un peth, mor gywir a dau *photograph* o'r un person. (Tudal. 44.) *Hold!* ebe'r Barnwr, mae efe ei hun yn dweyd *trochi*. Ateba y Dadleuydd eto,—Pe buasai yn golygu trochi mewn dwfr, buasai yn defnyddio *katalupto* (*cuddio*), neu *katapontizo* (*suddo, boddi*), neu *buthizo* (*soddi*). (Tudal. 45.) Ar hyn, dyna'r Barnwr yn troi at y Dadleuydd, ac yn dweyd fod yn rhaid iddo wneyd cyfiawnder â'r tyst, neu adael y llys! Ond parhau i gyndyn ddadleu a wnaeth, er dedfryd holl farnwyr y byd!!

Pe buasai yr Arglwydd Iesu wedi defnyddio *katalupto* i osod allan yr ordinhad, fe fuasai taenellwyr yn haeru mai ei ystyr fuasai *taenellu;* pe buasai wedi defnyddio *katapontizo*, buasent yn haeru mai ei ystyr fuasai *boddi*—soddi gwrthddrych fel na chyfodai mwy, fel y gwna Proffeswr Godwin am *baptizo* yn y clasuron! Mor anhawdd eu boddhau yw dynion. Dywed Dr. Charles Hodge mai *kataduo* a fuasai yr Iesu yn ddefnyddio pe buasai am ddysgu trochiad. (*Systematic Theology, vol.* iii. p. 536.) "*It is a thing made out,*" modd bynag, ys dywed Moses Stuart, fod *baptizo* ei hun yn golygu trochi neu dansuddo mor eglur ag unrhyw air yn yr iaith Roeg. Gwel *Moses Stuart on* "*The Mode of Baptism,*" *Dr. Conant's* "*Baptizein,*" "*The Act of Baptism,*" *&c.*

Nid yw y gwahaniaeth rhwng geiriau yn y *classics* a'r Beibl *yn gymmaint yn eu hystyr ag yn y defnydd crefyddol a wneir o honynt.* *Episkopos* a arwydda *arolygwr* yn y Beibl yr un fath ag yn y clasuron, ond ei fod i arolygu mewn pethau santaidd yn Seion. Golyga *bwyta* ac *yfed* yr un peth yn y Beibl ag yn y clasuron, ond pan y defnyddir y geiriau yn nglyn â Swper yr Arglwydd, fe gyssylltir arwyddocâd o bethau crefyddol ac ysbrydol â'r weithred. Golyga *baptizo* y weithred o drochi yn y Beibl yr un fath ag yn y clasuron, ond fod arwyddocâd ysbrydol yn cael ei gyssylltu â'r weithred yn y Beibl pan y sonir am fedyddio dysgyblion i Grist. Ac felly gyda llu o eiriau ereill. Mae ger ein bron Eirlyfr Groeg a Seisnig, gan Roegwr o genedl, o'r enw E. A. Sophocles, cyhoeddedig yn Boston, U.D., yn 1870; cyfrol ysblenydd, tudalenau 1188, gwerth £2 8s. Dyma a ddywed ef ar ddiwedd ei erthygl ar *Baptizo*, (yr hwn a olyga, eb efe, *to dip, immerse, sink*):—"*There is no evidence that Luke and Paul, and the other writers of the New Testament, put upon this verb meanings not recognized by the Greeks.*"

2. Y mae yn annghydnabod y prawf a dynir oddiwrth ysgrifeniadau y Tadau Groegaidd a Lladinaidd, ac arferiad Eglwys Groeg, dros fedyddio trwy drochiad.

3. Y mae yn annghydnabod cystrawiad *baptizo* gyda'r arddodiaid *en* ac *eis*, gan geisio dymchwelyd y prawf oddiwrth hyn trwy ddal ar y defnydd a wneir o'r arddodiaid mewn cyssylltiadau ereill.

4. Mae yn camddarlunio defodau Iuddewig. (Tudal. 41. 44.) Dirmyga y meddylddrych fod yr Iuddewon yn ymdrochi er ymburo, neu drochi eu dwylaw neu eu gwelyau, er eu glanhau. Ond yn ol y ddeddf yr oedd pethau aflan i'w "rhoddi mewn dwfr." (Lef. xi. 32.) Dywed y Rabbiniaid mai trochiad dillad neu yr holl gorph a olygir yn y gyfraith yn wastad pan y sonir am eu golchi. (Gwel Ainsworth ar Lef. xv. 11.) Yr oedd gan y Phariseaid ddwy ffordd i lanhau eu dwylaw, un trwy dywallt dwfr arnynt (*netilah*), a'r llall trwy eu trochi mewn dwfr (*tebilah*). Trochent eu gwelyau (*klinê=a quilt or mattress*), ac ymdrochent eu hunain yn fynych. (Gwel Gill, Hammond, Lightfoot, a Meyer, ar Marc vii. 1—5.) Golyga "amryw olchiadau" (bedyddiadau) yn Heb. ix. 10. amrywiol drochiadau yr offeiriaid a'r bobl ar wahanol achlysuron.

5. Cynnwysa wrthdarawiad pendant yn erbyn y Beibl ar bwyntiau daearyddol a hanesyddol.

"Y mae Palestina (eb efe,) yn neillduol yn y tymhor sych, yn cael ei desgrifio fel tir cras a sychedig, lle nad oes dwfr." (Tudal.

33.) Ond dywed Moses, "Y mae yr Arglwydd dy Dduw yn dy ddwyn i mewn i wlad dda, i wlad afonydd dyfroedd, ffynnonau a dyfnderau yn tarddu allan yn y dyffryn ac yn y mynydd." (Deut. viii. 7. xi. 10, 11.) Mae sychder yn mhob gwlad mewn rhai lleoedd ac ar rai adegau o'r flwyddyn, tra mae cyflawnder o ddwfr mewn lleoedd ereill ac ar adegau ereill. Yr oedd Canaan wedi ei bendithio yn neillduol yn yr ystyr yma. Gwel *Dr. Robinson's Physical Geography of the Holy Land*, pp. 263—276: *London, Ed.* 1865. *Robinson's Biblical Researches in Palestine, vol.* i., pp. 479—516: *London, Ed.* 1841.

6. Sylfaena ei ymresymiad ar feirniadaeth arwynebol a disail o'r iaith Roeg, a gesyd i lawr reolau ac eithriadau o'r fath fwyaf penrhydd a thrawsarglwyddol, yr hyn sydd yn dangos mai mympwy wag yw y cyfan.

Yr ydym wedi dynoethi gwendid y feirniadaeth oruchel hon yn helaeth yn barod, fel nad oes eisieu trethu amynedd y darllenydd yn mhellach.

7. Y mae yn annghydnabod ysgolheigdod a beirniadaeth yr oes, ac yn gosod i fyny grug o haeriadau o'i eiddo ei hun, ag nad ydynt, mewn gwirionedd, yn deilwng o ystyriaeth ddifrifol.

Wrth derfynu, goddefer i ni ddatgan ein gofid fod y fath lyfryn a hwn yn cael ei anfon i'r cyhoedd gyda chymmeradwyaeth rhanau pwysig o'r wasg. Na chamddealler ni. Nid ydym yn erbyn ymchwiliad i'r pwnc. Nid oes arnom bryder o barthed cywirdeb ein golygiadau. Nid oes arnom ofn ymosodiad. Byddai yn dda genym weled unrhyw oleuni newydd a all taenellwyr ei ddwyn yn mlaen ar y mater. Ond rhodder i'r bobl rywbeth heblaw ffug. Dylasai llyfryn fel hwn, ag sydd yn llawn o haeriadau disail, o wendid beirniadol, ac o gamesboniadau ar yr Ysgrythyr lân, gael ei ddynoethi fel y cyfryw gan y wasg, yn lle cael ei longyfarch fel tyst cywir i'r gwirionedd.

Mae gan y Bedyddwyr achos i fod yn falch o'u hegwyddorion. Mae pob ymosodiad a wneir arnynt yn brawf newydd o'u nerth, ac o wendid golygiadau taenellwyr ar ordinhad Crist. Os parha yr ymgyrch yn hir, mae yr *issue* yn sicr. "Pob planhigyn yr hwn nis planodd fy Nhad nefol, a ddiwreiddir." (Mat. xv. 13.)

---

## GWRTHDDADL VI.

### Y GOLCHIADAU IUDDEWIG.

### BAPTIZO YN YR APOCRYPHA, A'R GOLCHIADAU IUDDEWIG YN GYFFREDINOL.

---

*Yr Wrthddadl oddiwrth Judith* xii. 6, 7—*Hanes Judith—Ei chais at Olophernes—Cyflawnder o ddwfr yn Bethulia—Pob rhyddid a chyfleusdra iddi ymdrochi—Y Defodau Iuddewig—Yr Wrthddadl oddiwrth Eccles.* xxxiv. 25—*Y geiriau yn fyrieithog—Y gair* loutron *yn golygu ymdrochiad—Y Gyfraith Iuddewig yn gofyn* ymdrochi *ar ol halogrwydd oddiwrth gorph marw.*

Defnyddir y gair *baptizo* mewn dau le yn yr Apocrypha, yn mha rai, meddir, nas gall olygu *trochi* neu *suddo*. Un o'r lleoedd hyny yw y fan ganlynol:—

"A hi (sef Judith) a anfonodd at Olophernes, gan ddywedyd, Gorchymyned fy arglwydd yn awr ollwng dy wasanaethferch i fyned allan i weddio. Yna Olophernes a orchymynodd i wylwyr ei gorph ef na rwystrent hi. Felly hi a arosodd yn y gwersyll dri diwrnod: a hi a ai allan liw nos i ddyffryn Bethulia, ac a ymolchai (*ebaptizeto*) mewn ffynnon ddwfr wrth y gwersyll."—Judith xii. 6, 7.

Yr wrthddadl a gyfodir oddiwrth y lle hwn yw, *y byddai yn afresymol tybied ei bod wedi trochi ei hun yn y gwersyll, yn nghanol miloedd o filwyr estronol.*

Ei hanes sydd fel y canlyn:—Pan oedd byddin liosog o Assyriaid, o dan lywyddiaeth Olophernes, yn gwersyllu yn ymyl Bethulia, darfu i Judith, menyw wrol o'r ddinas hòno, fyned i wersyll yr Assyriaid gyda'r bwriad o ladd y cadlywydd. Derbyniodd y cadlywydd hi yn anrhydeddus, fel menyw synwyrol, brydweddol, a chyfoethog, a rhoddodd babell at ei gwasanaeth; cysgodd hithau yn y babell hyd hanner nos, a thuag un o'r gloch y boreu anfonodd at y cadlywydd am ganiatâd i fyned allan i weddio. Rhoddodd Olophernes ganiatâd iddi, a gorchymynodd i'r gwylwyr na attalient hi; "*a hi a ai allan liw nos i ddyffryn Bethulia, ac a ymfedyddiai mewn ffynnon ddwfr wrth y gwersyll.*" Trwy ymgyssylltu âg eilunaddolwyr, ystyriai ei hun yn aflan, ac elai i ymdrochi er dyfod yn lân, yn ol y gyfraith. (Num.

xix. 19.) Yr oedd gan yr hon a ddaeth i'r gwersyll i gymmeryd ymaith *fywyd* y cadlywydd ddigon o wroldeb i fyned ganol nos i gyflawni ei defodau crefyddol. Ymddengys fod *baptizo* yma yn golygu *ymdrochi*, oblegyd

1. Gallasai wneyd unrhyw ddefnydd arall o ddwfr er ei phuredigaeth yn y babell. Yr oedd yn y babell, lle y bwytâi ac yr yfai, ddigon o ddwfr er taenellu neu dywallt arni, pe hyny fuasai yn anghenrheidiol; ond gan nad oedd yn y babell le iddi *ymdrochi*, elai allan at ffynnon.

2. Yr oedd cyflawnder o ddwfr i ymdrochi ynddo yn Bethulia. Sonir yn fynych am ei dyfroedd: "Felly ei weision ef a'i daliasant, ac a'i dygasant ef allan o'r gwersyll i'r gwastadedd, ac a aethant o ganol y gwastadedd i'r mynydd-dir, *ac a ddaethant at y ffynnonau sydd dan Bethulia*." (Judith vi. 11.) Sonir am y ffynnon yr aeth Judith iddi, fel un dra phwysig: "Goresgyned dy weision di y ffynnon ddwfr sydd yn dyfod allan o odre'r mynydd, canys oddi yno y *mae holl drigolion* Bethulia yn cael eu dwfr." (pen. vii. 12, 13.) "A hwy a wersyllasant yn y dyffryn, ac a oresgynasant y *dyfroedd*, a *ffynnonau dwfr meibion Israel*." (adn. 17.) Mae yn amlwg, ynte, nad oedd prinder dwfr yn y lle iddi hi ymdrochi ynddo. Dywedir mai "yn y gwersyll *wrth* y ffynnon," (Gr. *kai ebaptizeto en tê parembolê epi tês pêgês)* y gwnelai hyn; mewn dwfr gerllaw'r ffynnon, mae'n debyg, yr hwn a gronai ger llaw iddi, yn y fath gyflawnder ag i fod yn gyfleus iddi dansuddo ei hun ynddo.

3. Cyflawnai hyn yn y nos. "Hi a ai allan liw nos i ddyffryn Bethulia, ac a ymfedyddiai mewn ffynnon wrth y gwersyll." (Judith xii. 7.) Mae'n debyg ei bod yn cael ei dilyn gan ei mhorwyn, (x. 5. 10.) yr hon a'i canlynai yn ei hanturiaethau. Yr oedd yn meddu hyder mawr yn amddiffyniad Duw, ac yn benderfynol i wneyd yr hyn a ystyriai yn ddyledswydd arni. Gan ei bod yn ymdrochi *yn y nos*, nid oedd y milwyr yn ei gweled, na neb yn ei haflonyddu.

4. Nid ydoedd pob rhan o'r gwersyll mor amlwg a'u gilydd. Ymddengys fod y lle a fynychid ganddi hi yn le ychydig o'r neilldu, lle yr arferai fyned i weddio ar Dduw; a rhan o'i gwasanaeth crefyddol ydoedd ymdrochi. "Dy wasanaethferch a â allan y nos i'r dyffryn, a mi a weddiaf Dduw,"—"a hi a ai allan liw nos i ddyffryn Bethulia, ac a ymfedyddiai mewn ffynnon dwfr wrth y gwersyll." (pen. xi. 17. xii. 7.)

Ni ddywedir mai *yn nghanol y gwersyll* yr ymfedyddiai, ac mae yn ymddangos oddiwrth y cyssylltiadau, ei bod yn ymneillduo ynddo i le heb fod yn amlwg iawn.

5. Yr oedd at ei rhyddid i weithredu fel y gwelai yn dda. Cymmerodd y cadlywydd hi o dan ei amddiffyniad neillduol, a gorchymynodd nad oedd i neb ymyryd â hi na'i rhwystro. (pen. xii. 1—7.) Pe buasai yn ewyllysio cyflawni ei defodau yn nghanol y llu, nid oedd neb i'w dirmygu na'i haflonyddu.

6. Gallasai fod yn orchuddiedig gan wisg gyfaddas ar yr amgylchiad. Dywed Maimonides, "Os bydd i ryw rai fyned i'r dwfr a'u dillad am danynt, eto, mae eu golchiad yn gwneyd y tro; oblegyd fe weithia y dwfr trwy eu dillad, ac ni wna eu gwisg ei attal." (*Lightfoot on Mat.* iii. 6.; *Ainsworth, Lef.* xv. 11.) Dywed Josephus wrth ddarlunio yr Esseniaid:—"Y mae y gwragedd yn myned i'r ymdrochleoedd (*baths*) gyda rhai o'u dillad am danynt, fel ag y mae y dynion yn myned gyda rhywbeth wedi ei wregysu o'u hamgylch hwythau." (*Wars of the Jews, B.* ii. *chap.* viii. 13.)

7. Deallai Spencer (*Ritual Laws of the Hebrews*) y geiriau dan sylw yn yr ystyr a amddiffynwn: "Fod yr Iuddewon, pan ar gyflawni eu haddunedau, weithiau yn glanhau eu holl gorph mewn *bath*, wyf yn ei gasglu oddiwrth hanes *Judith*, yr hon, pan y bwriadai weddio, a fedyddiodd ei hun mewn ffynnon o ddwfr."

Yn y golygiad yma yr edrychai y geiriadurwr enwog Parkhurst ar yr amgylchiad. Yn ei erthygl ar y gair *baptizo* cawn y nodiad hwn:—"Defnyddia y LXX *baptizomai*, (Mid.) am *ymolchi drwy drochiad*, yn cyfateb i'r Hebraeg *tabal.* (2 Bren. v. 14.) Felly hefyd y cymhwysir ef yn llyfrau'r Apocrypha." (Judith xii. 7. Eccles. xxxiv. 25.)

Nid oes dim yn yr amgylchiad, gan hyny, ag sydd yn ein cyfiawnhau i briodoli ystyr wahanol i *baptizo* yn y lle hwn i'w ystyr arferol; ond yn hytrach fel arall. Fel y crybwyllwyd o'r blaen, y gyfraith Hebreaidd ydoedd, "Pob aflan, pa un bynag ai dynion ai llestri, ni lanheir hwy ond *trwy drochiad mewn dwfr;* a pha le bynag y mae y gyfraith yn son am olchi cnawd dyn, neu olchi dillad oblegyd aflendid, y mae hyny *trwy drochi yr holl gorph ynddo.*" (*Ainsworth* ar Lef. xi. 32.) "Yr oedd bedydd hefyd yn mhlith yr Iuddewon," ebe Bengel, "yn cynnwys bod yr *holl gorph yn cael ei drochi mewn dwfr*, gan nad pa mor oer y byddo." (*Bengel on Mark* x. 38. Gwel *Ripley's Examination of Stuart on Baptism*, pp. 27—29. *Noel's External Act of Baptism*, pp. 42—44.)

Y lle arall yw Ecclesiasticus xxxiv. 25:—

"Y neb a ymolcho (*baptizomenos*) wedi cyffwrdd â'r marw, ac a gyffyrddo âg ef eilwaith, pa fudd a gaiff efe o'i ymolchiad (*loutron*)?"

Dywedir nad ydyw y gair *baptizo* yn yr engraifft uchod, yn golygu trochi, ond yn hytrach *glanhau* neu *buro;* a chan y dywedir yn Num. xix. 18. "A chymmered isop, a golched (*bapsei*=troched) un dihalogedig ef mewn dwfr, a *thaenelled* ar y babell, ac ar yr holl lestri, ac ar yr holl ddynion oedd yno, ac ar yr hwn a gyffyrddodd âg asgwrn, neu *un wedi ei ladd*, neu *un wedi marw*, neu fedd," &c., dywedir mai trwy *daenellu* yr oeddynt yn ymburo, ac felly fod *baptizo* yn yr engraifft uchod yn golygu taenellu. Ond y mae amryw bethau yn dangos nad ydyw yr wrthddadl yn arddangosiad cywir o'r amgylchiad:—

1. Mae y geiriau yn fyrieithog *(elliptical).* Y darlleniad llythyrenol yw, "Efe, yr hwn a ymdrocha oddiwrth gorph marw, ac a gyffyrdda âg ef drachefn, pa les yw ei ymdrochiad iddo?" Gwelir fod y cyfieithiad cyffredin wedi ychwanegu "*cyffwrdd*," er mwyn gwneyd y geiriau yn fwy eglur. Golygant, *Efe yr hwn a ymdrocha er ymburo oddiwrth yr halogrwydd a gafodd trwy gyffyrddiad â chorph marw, ac a ymhaloga trwy gyffwrdd âg ef drachefn, pa les yw ei ymdrochiad iddo?* Mae byrieithiad fel hyn i'w ganfod yn aml yn yr Ysgrythyrau. Cymharer 2 Cor. xi. 3. Heb. x. 22. Nid yw y gair *baptizo* yma, ynte, yn golygu *taenellu* na *phuro,* ond yn hytrach *ymdrochi,* yr hyn oedd i gymmeryd lle *o flaen* puredigaeth; *trochiad* oedd y weithred, a'r amcan mewn golwg oedd *cyrhaedd puredigaeth.*

2. Mae y gair *loutron* yn yr adnod, yn profi nad ydyw y gair *baptizo* yn cyfeirio at holl ddefodau y puredigaeth. Ystyr *loutron* yma yw *ymdrochiad,* a defnyddir ef fel yn gyfystyr â *baptizomenos,* yr hyn a brofa nad ydyw *baptizo* yn golygu *puredigaeth,* ond yr *ymdrochiad* er mwyn cyrhaedd hyny.

Ymddengys mai pethau *rhagbarotoawl* oedd y taenelliadau, ac mai y ddefod o *ymdrochi* oedd y ddiweddaf, er cyrhaedd puredigaeth.* "A thaenelled y glân ar yr aflan *y trydydd dydd,* a'r *seithfed dydd;* ac ymlanhaed efe y seithfed dydd, a golched ei ddillad, YMOLCHED MEWN DWFR, a glân fydd yn yr hwyr." (Num. xix. 19.)

3. Mae y Ferf Hebreig *rachats,* yr hon a geir yn Num. xix. 19. am *ymolchi* mewn dwfr, yn golygu yn fynych *ymdrochi.* Gwel Ecsodus ii. 5. Lef. xiv. 8, 9. xv. 9.

---

* Ἁγνίζω (*hagnizo*) *to purify, to lustrate;* as John xi. 55., where *hagnizein heauton,* is to prepare oneself *by purification* for the sacred festivals; which was done among the Jews by visiting the temple, offering up prayers, abstaining from certain kinds of food, washing their clothes, bathing, shaving the head, &c. —*Dr. Edward Robinson's Greek Lexicon.*

4. Yr oedd y *llestri* a halogid trwy gyffyrddiad â'r marw i gael eu *trochi* mewn dwfr. "Y rhai hyn ydynt aflan i chwi o bob ymlusgiaid: pob dim a gyffyrddo â hwynt pan fyddant feirw, a fydd aflan hyd yr hwyr. A phob dim y cwympo un o honynt arno, wedi marw a fydd aflan; pob llestr pren, neu wisg, neu groen, neu sach, pob llestr y gwnelir dim gwaith ynddo, RHODDER MEWN DWFR, a bydded aflan hyd yr hwyr; felly y bydd glân." (Lef. xi. 31, 32.) Os oedd y llestri hyn, i gael eu *dodi mewn dwfr* (Lef. xi. 32.) ar ol cael eu taenellu, (Num. xix. 18.) y mae yn hollol gysson â gosodiadau Iuddewiaeth, fod i'r person a halogid gan yr un peth i gael ei orchuddio â dwfr trwy ei waith yn ymdrochi ynddo.

5. Dywed y Rabbiniaid Iuddewig, "Pa le bynag y sonir yn y gyfraith am olchi y corph, neu y gwisgoedd, ni olygir ond *golchi yr holl gorph.* Oblegyd os bydd i un olchi ei hun drosto, oddi eithr pen ei fys bach, y mae eto yn ei aflendid. Heblaw hyny, dywedir yn Lef. xi. 32. fod yn rhaid iddo gael ei ddodi mewn dwfr; felly mae'n rhaid i'r PERSONAU AFLAN MWYAF NODEDIG GAEL EU DODI MEWN DWFR." (*Ainsworth*, Lef. xv. 11.) Dywed yr Iuddewon yn fynych yn eu hysgrifau pan y sonir am olchi corph dyn, *y golygir trochi yr holl gorph.* Mae yn eglur, gan hyny, oddiwrth yr ystyriaethau hyn,—

1. Fod y gyfraith yn gofyn i'r hwn a halogwyd drwy gyffyrddiad â chorph marw, *ymdrochi* er mwyn ymlanhau.

2. Fod yr Iuddewon yn ystyried fod y gyfraith yn *gofyn* hyny, ac yn *ymdrochi* yn fynych mewn cydymffurfiad â'i rheolau. "Yn y defodlyfr (*ritual*) Lefiticaidd, (ebe Dr. MacKnight,) yr oedd amryw *fedyddiadau*, neu *drochiadau'r* corph mewn dwfr, yn cael eu gorchymyn, fel yn arwyddluniol o'r purdeb meddwl hwnw, yr hwn sydd yn anghenrheidiol i wasanaethu Duw yn dderbyniol." (*MacKnight.*) Sonia Paul am wasanaethu Duw "â bwydydd a diodydd, ac amryw (*baptismois*) *drochiadau*, ac ordinhadau gyda golwg ar y cnawd, gosodedig hyd amser y diwygiad." (*MacKnight* ar Heb. vi. 2. a ix. 10.)

3. Gan fod *baptizo* yn cael ei ddefnyddio yn Eccles. xxxiv. 25., i osod allan y ddefod orphenol o *ymdrochi* er cyrhaedd puredigaeth, y mae i'w gymmeryd yma yn ei ystyr arferol, ac yn golygu *trochi neu suddo.* (Gwel *Dr. Gale's Reflections*, pp. 153—159. *Ripley's Examination of Stuart's Essay on Baptism*, pp. 29—33. *Noel's External Act of Baptism*, p. 42. *Carson on Baptism*, pp. 320, 321.)

# GWRTHDDADL VII.

## BEDYDD A PHUREDIGAETH YN GYFYSTYR.

---

*Gwrthddadl Dr. Beecher—Nad* puro *yw ystyr Baptizo—Dywed y Beibl nad puredigaeth yw bedydd—Geiriau y Beibl yn ddiystyr ar yr ystyriaeth mai* puro *yw* bedyddio—*Na orchymynir yn y Testament Newydd i ddynion buro dynion ereill—Na ddarfu i'r Eglwys Gyntefig na'r Tadau Groegaidd ddeall Baptizo yn golygu puro—Cyril o Alexandria yn cael ei gamddarlunio.*

Dysga Dr. Edward Beecher o'r America, Dr. Henderson, Prof. Godwin, ac ereill, nad ydyw *baptizo* yn y Testament Newydd yn golygu na throchi na thywallt, ond *puro*, a'i fod yn gyfystyr â *katharizo.* Sylfaenir yr wrthddadl hon ar Ioan iii. 25, 26.:—

"Yna y bu ymofyn rhwng rhai o ddysgyblion Ioan a'r Iuddewon, yn nghylch puredigaeth. A hwy a ddaethant at Ioan, ac a ddywedasant wrtho, Rabbi, yr hwn oedd gyda thi y tu hwnt i'r Iorddonen, am yr hwn y tystiolaethaist ti, wele, y mae hwnw yn bedyddio, a phawb yn dyfod ato ef."

Cymmerir yn ganiatâol fod dysgyblion Crist a dysgyblion Ioan yn dadlu yn nghylch bedydd, a bod y bedydd yn cael ei alw gan yr efengylwr yn buredigaeth. Ond ni ddywedir mai yn nghylch *bedydd* yr oedd yr ymofyn, eithr yn nghylch *puredigaeth.* Gallasai fod, yn wir, yn nghylch bedydd fel moddion puredigaeth ; er hyny, nid puredigaeth yw ystyr bedydd. Ymddengys gwendid yr wrthddadl hon, pan ystyriom,

1. Mai nid gair yn golygu *puro* a ddefnyddir i osod allan yr ordinhad o fedydd.

Y gair am fedyddio yw *baptizo*, ond y gair a ddefnyddir yn gyffredin am buro yw *katharizo.* Mae'n bossibl i *baptizo* gael ei ddefnyddio i osod allan drochi *er mwyn* puredigaeth, fel y gwna dyn yfed *er mwyn* bod yn ddisychedig, ond nid trochi yw puredigaeth, fwy nag mai yfed yw bod yn ddisychedig ; yr *achos* yw y naill, y *canlyniad* neu'r *effaith* yw y llall. Mae'n hawdd canfod nad puro yw trochi, oblegyd defnyddir geiriau priodol am bob un o'r gweithredoedd hyn yn y Beibl. Yn yr adnodau canlynol, cawn *bump* o eiriau gwahanol yn y

Beibl Hebraeg, ac yn y LXX mewn cyssylltiad â defodau'r puredigaethau Iuddewig:—

"A chymmered efe yr aderyn byw, a'r coed cedr, a'r ysgarlad, a'r isop, a *throched* (Heb. *vetabal*, Gr. *bapsei*) hwynt a'r aderyn byw yn ngwaed yr aderyn a laddwyd oddiar y dwfr rhedegog, a *thaenelled* (Heb. *vehizzah*, Gr. *perirrhanei*) seithwaith ar yr hwn a *lanheir* (Heb. *hammittaher*, Gr. *katharisthenta*) oddiwrth y gwahanglwyf, a barned ef yn lân.......A *golched* (Heb. *vekibbes*, Gr. *plunei*) yr hwn a lanheir ei ddillad, ac eillied ei holl flew, ac *ymolched* (Heb. *verachats*,* Gr. *lousetai*) mewn dwfr, a glân fydd." (Lef. xiv. 6—8.)

Pan y mae Duw yn dysgu dynion, y mae yn gwneyd hyny yn eglur; dywed wrthynt am wneyd yr hyn a geisia mewn iaith ddealladwy. Pan y gorchymyna *daenellu*, neu *drochi*, neu *dywallt*, neu *buro*, geiriau i osod hyny allan a ddefnyddia; pan y sonir am *buro* neu *lanhau* yn y Testament Newydd, y gair *katharizo* a ddefnyddir fynychaf; ond pan y gorchymynir bedyddio y dysgyblion, y gair *baptizo* a ddefnyddir, yr hyn a ddengys nad ydyw *baptizo* a *katharizo* yn gyfystyr yn ngolwg Awdwr yr Ysgrythyrau.

2. Dywedir wrthym yn bendant nad puredigaeth yw bedydd.

Rhaid fod gorchymyn i buro yn cyfeirio at halogrwydd *corphorol* neu *foesol;* nid ydyw Cristionogaeth yn cydnabod aflendid corphorol, a thrwy *ffydd* mae'r galon yn cael ei phuro, (Act. xv. 9.) a thrwy waed Crist mae'r enaid yn cael ei lanhau. (1 Ioan i. 7.) Gyda golwg ar åflendid corphorol, dywedir "nad bwrw ymaith fudreddi'r cnawd" y mae bedydd (1 Pedr iii. 21.); a chyda golwg ar aflendid moesol, dywedir mai "gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod," ac mai trwy ffydd y purir y galon.

Dywedir, mae'n wir, yn Act. xxii. 16. "Cyfod, bedyddier di, a golch ymaith dy bechodau, gan alw ar enw'r Arglwydd." Mae bedydd y crediniol yn rhagdybied fod y bedyddiedig yn marw i bechod, neu yn ymwrthod â phechod; ac felly mae bedydd yn yr elfen bureiddiol dwfr yn arwyddlun o olchiad ymaith bechod, gan fod dyn *drwy ei gladdedigaeth gyda Christ yn y bedydd*, yn arddangos ei farwolaeth i bechod, a'i fod yn darfod â'r hen fywyd annuwiol, fel mae yr hwn a gleddir yn y bedd yn darfod â phethau'r bywyd hwn; a *thrwy ei gyfodiad i fyny gyda Christ yn y bedydd*, y mae fel pe byddai yn cael ei eni i fyd newydd, ac yn arwyddo ei fod o hyn allan am ddilyn newydd-deb buchedd. Mae bedydd fel hyn yn cynnwys tybiaeth fod y bedyddiedig yn ymwrthod â phechod, ac yn dechreu

---

* Sylwyd yn barod mai *ymdrochi* a olygir yma, yr hyn a olyga *rachats* a *louo* yn fynych iawn.

dilyn bywyd santaidd. Yn unol â hyn, dywedir wrth Paul, "Cyfod, bedyddier di, er arddangos dy fod yn ymryddhau oddiwrth bechod, a chan alw ar enw yr Arglwydd Iesu, ac ymostwng i'w osodiad, y caffot dystiolaeth yn dy fynwes fod dy bechodau wedi eu maddeu."*
Ond ni wnelai y tro i ddeall y geiriau, "Cyfod, *purer* di, a golch ymaith dy bechodau," neu, "Cyfod, *golcher* di, a golch ymaith dy bechodau," oblegyd ailadroddiad diystyr (*tautology*) fyddai hyny o'r un peth.

3. Ni fyddai synwyr yn ngeiriau'r Beibl ar yr ystyriaeth mai *puro* yw ystyr *baptizo*.

(1,) Cymhwysir ef at Grist. Bedyddiwyd Mab Duw, ond nid oedd efe mewn anghen puredigaeth. A fyddai darllen yr adnodau dilynol fel y canlyn yn godiad i gymmeriad y Messiah yn ngolwg y byd? "Yna y daeth yr Iesu o Galilea i'r Iorddonen at Ioan, i'w *buro* ganddo. A'r Iesu *wedi ei buro*, a aeth yn y fan i fyny o'r dwfr." (Mat. iii. 13. 16.) "Y mae genyf *buredigaeth* i'm *puro* âg ef, ac mor gyfyng yw arnaf hyd oni orphener!" Y glân, y santaidd, a'r dihalog, yr hwn nid adnabu bechod mewn un wedd, yn cael ei ddodi yn nwylaw Ioan i'w *buro!*

(2,) Defnyddir *baptizo* i osod allan *gladdu* a *chodi*. Defnyddir bedydd gan Paul fel arwyddlun o gladdedigaeth ac adgyfodiad; ond pa synwyr a ellid wneyd o'i iaith, pe dodid *puredigaeth* yn lle *bedydd*:—"Oni wyddoch chwi am gynnifer o honom ag a *burwyd* i Grist Iesu, ein *puro* ni i'w farwolaeth ef. Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy *buredigaeth* i farwolaeth, fel megys ag y cyfodwyd Crist trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau mewn newydd-deb buchedd." (Rhuf. vi. 3, 4.) "Wedi eich cydgladdu âg ef yn y *puredigaeth*, yn yr hwn hefyd y'ch cydgyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw, yr hwn a'i cyfododd ef o feirw." (Col. ii. 12.) Doder y gair *trochiad* yn lle *puredigaeth* yn yr adnodau uchod, bydd y synwyr yn eglur, a'r gymhariaeth yn ddealladwy.

(3,) Cyffelybir bedydd i'r *diluw*, 1 Pedr iii. 21; ond pa gyffelybiaeth oedd rhwng y diluw â phuredigaeth?

---

*"*A golch ymaith dy bechodau.*—Mae y frawddeg hon (ebe Dr. Hackett,) yn gosod allan ganlyniad o'r trochiad, mewn iaith ddeilliedig oddiwrth natur yr ordinhad hôno. Mae yn ateb i '*er maddeuant pechodau*' yn pen. ii. 38. Gosodir trochiad allan fel yn meddu y pwysigrwydd neu'r effeithioldeb hwn o herwydd ei fod yn arwydd o'r edifeirwch a'r ffydd y rhai ydynt yn delerau iachawdwriaeth." *(Hackett, on Act.* xxii. 15.)

(4,) Nid oedd yr Iuddewon yn credu mai ystyr *baptizo* yw *puro*, oblegyd cawn y LXX yn cyfieithu Esai. xxi. 4.—"HE ANOMIA ME BAPTIZEI=*y mae anwiredd yn fy suddo*," neu yn ol yr athrawiaeth newydd, *Y mae* PECHOD *yn fy* MHURO !

4. Ni orchymynir yn y Testament Newydd i ddynion buro dynion ereill.

Defnyddir *katharizo* mewn chwech o leoedd i osod allan lanhad neu buredigaeth ysbrydol, lle y priodolir y gwaith i Dduw. (Act. xv. 9. Eph. v. 26. Tit. ii. 14. Heb. ix. 14. 1 Ioan i. 7. 9.) Mewn tri lle cymhellir dynion i lanhau eu hunain, (Mat. xxiii. 26. 2 Cor. vii. 1. Iago iv. 8.) ond ni ddysgir i weinidogion yr efengyl yn un man i buro ereill.

5. Ni ddarfu i'r eglwys gyntefig ddeall mai ystyr *baptizo* yw *puro*.

Edrychent hwy arno yn gofyn *trochi*, a throchi a wnelent, fel y profwyd yn barod. Edrycha Eglwys Groeg arno o'r dechreu hyd yr awr hon yn golygu *trochi*, a throchi a wna yn mhob oes, mewn ufydd-dod i'r commisiwn. Yr oedd y Tadau Groegaidd yn yr eglwys mor bell oddiwrth edrych ar *baptizo* yn golygu *puro*, fel y defnyddient ef yn fynych *i osod allan bechod yn halogi* trwy suddo un mewn llygredd. Dywed Clement o Alexandria, yr hwn a flodeuodd tua dechreu y drydedd ganrif:—

"Oblegyd swrth yw pob un a'r nad ydyw yn effro am ddoethineb, ond a *suddir* (*baptizomenos*) gan feddwdod i gwsg." (*The Educator, Book* ii. *ch.* 2.) Dywed Chrysostom:—"Am hyny yr wyf yn dymuno arnat, cyn i ti gael dy *suddo* (*baptisthênai*) yn ddwfn gan y meddwdod hwn, i ddychwelyd i sobrwydd, ac i gyfodi i fyny, a bwrw ymaith y trythyllwch Satanaidd." (*Admonition* i. *to Theodorus*.) Dywed yr un mewn lle arall, (*Discourse* v. *on Titus*, § 3.)—"Fel yr oeddym yn *drochedig* (*bebaptismenoi*) mewn drygioni, fel nas gallem gael ein glanhau (*katharthênai*), ond yr oeddym mewn anghen cael ein haileni." Dywed y Clement y cyfeiriwyd ato uchod, wrth son am auathrawon a llygrwyr Cristionogaeth:—"A ni yn wir a olchwyd, y rhai oeddym o rifedi y rhai hyn; ond y maent hwy yn golchi i'r trythyllwch hwn, *trochant* (*baptizousi*) oddiwrth sobrwydd i buteindra, gan ddysgu i feithrin y pleserau a'r nwydau." (*Stromata, Book* iii. *ch.* 18.)

Dywedir, modd bynag, fod y Tadau yn defnyddio y gair *baptizo* yn gyfystyr â *phuro*, "a'i fod yn eglur (a defnyddio iaith Dr. Ed. Beecher,) fod *baptizo* yn cael ei gyfyngu i osod allan daenelliad yr aflan â lludw anner." Mae Dr. Beecher a Dr. Halley yn dyfynu o Cyril o Alexandria, A.D. 412, er profi y gosodiad uchod. Yr atebiad goreu i'r wrthddadl hon fydd rhoddi yr adran fel y dyfynir

hi gan yr enwogion hyn, ac fel y ceir hi heb ei thalfyru yn ngwaith Cyril ei hun, ochr yn ochr:—

| *Yr adran yn ol y Doctoriaid Beecher a Halley.* | *Yr adran yn ol Cyril ei hun.* |
| --- | --- |
| "Yr ydym wedi cael ein bedyddio nid â dwfr yn unig, nac â lludw anner, ond â'r Ysbryd Glân, ac â thân."<br>Dr. Edward Beecher's *Baptism: its Imports and Modes.* New York, 1849. *Page* 164.<br>Dr. Halley's *Sacraments: Part I.* London, 1854. *Page* 337. | "Oblegyd yr ydym wedi cael ein bedyddio nid mewn dwfr yn unig (ἐν ὕδατι γυμνῷ), nac [YCHWAITH WEDI CAEL EIN TAENELLU (ἐρραντισμέθα)] â lludw anner, [ER PUREIDDIAD Y CNAWD YN UNIG, FEL Y DYWED YR APOSTOL BENDIGEDIG PAUL;] ond yn (ἐν) yr Ysbryd Glân, a thân [AG SYDD YN DDWYFOL AC I'W DDIRNAD YN FEDDYLIOL, YN DINYSTRIO AFLENDID Y DRYGEDD O'N MHEWN, AC YN DIFA HALOGRWYDD PECHOD."] Gwel yr adran yn y Groeg a'r Saesneg yn Esiampl 221, o waith Dr. Conant, a elwir, *The Meaning and Use of Baptizein, Philologically and Historically Investigated. By T. J. Conant, D.D. London: Trubner & Co.* |

Fe welir fod y geiriau a adawyd allan gan y doctoriaid yn newid cyfeiriad y dyfyniad yn drwyadl, ac yn rhoddi ystyr hollol wahanol iddo. Drwg genym ychwanegu fod yr uchod yn engraifft o'r modd yr ymddygir yn fynych at ddyfyniadau gan awdwyr ar fedydd. Os nad ellir amddiffyn bedydd heb "drin" hyd y nod "gair" dyn "yn dwyllodrus,"—heb son am air Duw!—gwell gadael iddo fyned i ebargofiant. Ni raid i wirionedd, modd bynag, wrth gymhorth y fath arfau!

# GWRTHDDADL VIII.

## GWYLEIDD-DRA GWRAGEDD DWYREINIOL.

---

*Gwyleidd-dra menywod yn India yn fwy nag y bu erioed yn Mhalestina —Gwragedd yn ymdrochi yn India—Tystiolaeth Dubois, Ward, Weitbrecht, Chamberlain—Yr Is-gadben Lynch ar Ymdrochi yn yr Iorddonen.*

Dywedir yn aml fod gwyleidd-dra gwragedd yn y Dwyrain, yn gwahardd y meddylddrych o drochiad mewn bedydd; gan nad beth a ddywedir am eu gwyleidd-dra, mae a ganlyn yn ffeithiau :—

1. Mai ystyr *baptizo* yw *trochi.*

2. Fod gwragedd wedi cael eu bedyddio yn yr oes apostolaidd trwy drochiad.

3. Fod gwyleidd-dra ac ymneillduad menywod yn India yn fwy nag y bu erioed yn Mhalestina; eto y maent hwy yn fynych yn ymdrochi yn gyhoeddus mor ddiofn a dynion. Gwna y tystiolaethau canlynol, fe ddichon, symmud ymaith bob anhawsdra o feddwl y darllenydd ar y pen hwn :—

"Mae llawer iawn o ffynnonau a llynoedd wedi cael eu cyssegru gan ofergoeledd, ac yn dra enwog ar gyfrif yr effeithiau ysbrydol a roddant i'r rhai a ymdrochant ynddynt. Pan y daw y flwyddyn a'r dydd i ymdrochi yn y dyfroedd cyssegredig hyny, bydd tyrfa o bobl, braidd yn aneirif, yn trefnu eu hunain o amgylch y dwfr ar yr adeg ddedwydd. Arosant am yr awr a'r moment ffafriol o'r dydd; a'r eiliad y bydd y sêr-ddewin yn amlygu fod yr adeg wedi dod, bydd pawb, gwŷr, *gwragedd*, a phlant, yn soddi eu hunain ar unwaith i'r dwfr."—*Dubois*, "*Letters on Christianity in India*," p. 125.

"Ond o'r holl wyliau, yr enwocaf, o leiaf yn rhan fwyaf o wledydd, yw yr hon a elwir Pongol, yr hon a gymmer le yn niwedd Rhagfyr, tua throad y rhod yn y gauaf. Gelwir yr ail ddydd Surya Pongol, neu Pongol yr Haul. *Gwragedd priod*, wedi puro eu hunain trwy ymdrochi, yr hyn a wnant trwy ymsoddi yn y dwfr heb ddiosg eu dillad, a chan ddyfod i fyny yn ddyferol o wlyb, a ant i ferwi reis yn yr awyr agored, heb un gorchudd uwch ben."—*Dubois*, p. 387.

"Pan fo'r lleuad yn llawn, yn Asharhu, mae llawer o filoedd o Hindwaid yn ymgynnull yn Prutapu-guru, lle i'r Gorllewin o Lucknow, ac yn ymdrochi yn y Godavery."—*Ward's View of the Hindoos, vol.* iii. p. 218.

"Ar y dydd diweddaf o Choitru, mae llu mawr o Hindwaid, yn ol rhai tuag ugain mil, *y mwyrif o honynt yn wragedd*, yn ymgynnull yn Uyodhya i ymdrochi yn y Suruyoo. Ar lànau y Yumoona, ar yr ail ddydd i'r lleuad, yn Khartickhu, mae tyrfaoedd anferth o Hindwaid, yn ymgynnull mewn gwahanol leoedd i ymdrochi."—*Ward, vol.* iii. p. 219.

"Ar y trydydd dydd ar ddeg o leihad y lleuad, yn Choitru, mae y bobl yn myned i lawr i'r dwfr, a chyda'u dwylaw yn nghyd, a ymdrochant. Yna dywedant rai geiriau ar ol yr offeiriad, megys y dydd o'r mis, enw Vishnos, &c., ac ymdrochant drachefn."—*Ward, vol.* iii. p. 212.

"Mewn lleoedd cyssegredig, megys Benares, mae can' mil o bobl yn fynych yn ymgasglu ar lànau y Ganges, yn neillduol yn amser *eclipse;* mor fuan ag y cyffyrdda cysgod y ddaear â'r lleuad, mae yr holl dorf, ar roddiad arwydd neillduol, yn suddo eu hunain ar unwaith i'r afon."—*Weitbrecht*, p. 116. *B. W. Noel's Ext. Act of Baptism*, pp. 82—84.

Chamberlain, y Cenadwr, wrth ddarlunio yr wyl fawr yn ynys Gunga Saugur, yn India, a ddywed:—

"Y mae geiriau yn methu rhoddi desgrifiad cywir o'r olygfa hon. Y mae yma ddinas annhraethol boblog wedi ei chyfodi mewn ychydig iawn o ddyddiau, lawn o heolydd, tramwyfeydd, gwerthfaoedd, &c. Gadawsom y cychod yn fuan, ac aethom i blith y bobl; yna ni a welsom weithredoedd eilunaddoliad ac ofergoeledd,—tyrfaoedd ar dyrfaoedd o ddynion, *gwragedd*, a phlant pensyfrdanol, uchel ac isel, ieuainc a hen, cyfoethog a thlawd, yn *ymdrochi yn y dwfr*, ac yn addoli Gunga, drwy blygu, a gwneuthur cyfarchiadau, a lledaenu eu hoffrymau o reis a blodau ar y traeth i'r dduwies eu cymmeryd pan ddeuai y llanw." (*Dr. Cox's History of the Baptist Mission, vol.* i. p. 113.)

Ceir llythyr dyddorol yn dwyn yr un dystiolaeth oddiwrth y Parch. Thomas Evans, y Cenadwr llafurus yn India, yn yr "*Act of Baptism*," gan awdwr y gyfrol hon, tudal. 64, at yr hwn y cyfeiriwn y darllenydd.

Desgrifia yr Is-Gadben Lynch, o'r Unol Daleithiau, ddynesiad byddin y pererinion at yr Iorddonen, fel y canlyn:—

"Gyda holl frys ac annhrefn byddin o ffoaduriaid, yn Goptiaid a Rwssiaid, Poliaid, Armeniaid, Groegiaid, a Syriaid, o bob parth o Asia, o Ewrop, o Affrica, ac hyd y nod o America bell, yn mlaen y deuent; *yn wŷr*, *gwragedd*, a *phlant*, o bob oed a lliw, ac mewn pob math o wisg; yn ymddyddan, crochlefain, bloeddio, braidd yn mhob iaith o dan y nef. Aethant yn awyddus yn mlaen, a chan ddisgyn oddiar eu hanifeiliaid mewn brys, ac ymddadwisgo ar ffrwst, rhuthrasant i lawr y dorlan, a thaflasant eu hunain i'r afon. Ymddangosent wedi cael eu llyncu i fyny gan un teimlad cyffroadol, *ac yn berffaith ddibris o waith ereill yn sylldremu arnynt.* Darfu i bob un dansuddo

ei hun, neu gael ei drochi gan arall, dair gwaith, er anrhydedd y Drindod." (*Lynch's* "*Expedition to the River Jordan and the Dead Sea,*" p. 168.)

Ni ddygir hyn yn mlaen i gyfiawnhau y trochiad Cristionogol, ond i ddirymu yr wrthddadl oddiwrth wyleidd-dra y Dwyreinwyr, oblegyd beth bynag a allai fod yn anffafriol i drochiad y dysgyblion yn Judea, yr oedd yr anhawsderau lawer mwy yn India; eto, yr ydym yn cael nad ydyw tynerwch na gwyleidd-dra gwragedd yn India, yn rhwystr iddynt hwy i ymdrochi yn mhresennoldeb miloedd o edrychwyr.

Nid ydyw gwrthddadleuon o'r natur hyn, ond iaith anufydd-dod yn ceisio dystewi llais cydwybod.

---

# GWRTHDDADL IX.

## JUSTIN FERTHYR AR Y DIAFOL YN DYNWARED BEDYDD.

---

*Adroddiad o'r Wrthddadl—Dyfyniadau o Ymddiffyniad I. Justin—Y Paganiaid yn efelychu'r Defodau Iuddewig, yn hytrach nag Ordinhadau yr Efengyl.*

SYLWEDD yr wrthddadl hon yw a ganlyn :—

"Dywed Justin Ferthyr fod y diafliaid (*daimones*) wedi dyfeisio taenelliad â dwfr, yn ddynwarediad o wir fedydd. Os oedd y taenelliadau paganaidd yn ddynwarediad o'r bedydd Cristionogol, yna taenelliad oedd y bedydd Cristionogol." (*Dr. Halley on the Sacraments, vol.* i. p. 338.)

Yr oedd Justin yn byw yn yr ail ganrif; os ydyw yn dweyd yr hyn a briodolir iddo uchod, y mae ei ddywediad yn haeddu ystyriaeth ddwys. Ond yr ydym yn gwadu i Justin ddweyd y fath beth, ac yn honi nad oedd taenelliad wedi dechreu mor foreu a'i oes ef. Dyfynwn y rhanau hyny o waith Justin, a'u cyssylltiadau, ar ba rai y sylfaenir yr wrthddadl uchod :—

"APOL. I. § 61. Pa fodd y cyssegrasom ein hunain i Dduw, gan fod wedi cael ein gwneyd yn newydd trwy Grist, a egluraf, rhag, os gomeddaf hyn, yr ymddangosaf i dwyllo yn fy eglurhad. Cynnifer gan hyny ag a berswadir, ac a gredant, fod y pethau a ddysgir ac a gadarnheir genym ni yn wirionedd, ac a addawant y gallant fyw mewn cydymffurfiad â hwy, a ddysgir i weddio, ac i ofyn i Dduw dan ymprydio, i ganiatâu maddeuant iddynt am eu pechodau blaenorol; ac yr ydym ninnau yn gweddio ac yn ymprydio gyda hwynt. Yna yr ydym yn eu harwain hwynt i'r lle mae dwfr; ac yn ol yr un drefn o ailenedigaeth ag yr ail anwyd ninnau, y maent yn cael eu haileni; oblegyd yn enw Duw, Tad ac Arglwydd pob peth, a'n Hiachawdwr Iesu Grist, a'r Ysbryd Glân, y maent yn cael eu baddio mewn dwfr (ἐν τῷ ὕδατι τότε λουτρὸν ποιοῦνται). Oblegyd Crist hefyd a ddywedodd, 'Oddi eithr i chwi gael eich geni drachefn, ni chewch chwi fyned i mewn i deyrnas nefoedd.' A'i fod yn anmhossibl i'r rhai a anwyd un waith, i fyned i groth eu mam, sydd amlwg i bawb. A dywedir gan y prophwyd Esaiah, fel yr ysgrifenais yn barod, pa fodd y gall y rhai a bechasant, ac ydynt yn edifarhau, ddianc rhag eu pechodau. Dywedir fel y canlyn :—'Ymolchwch (λούσασθε), ac ymlanhewch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddiwrth eich eneidiau; dysgwch wneuthur daioni, barnwch yr amddifad, dadleuwch dros y weddw. A deuwch, ac ymresymwn yn nghyd,

medd yr Arglwydd; ac er i'ch pechodau fod fel ysgarlad, mi a'u gwnaf yn wynion fel gwlan; er eu bod yn goch fel y porphor, mi a'u gwnaf yn wynion fel eira. Ond os na wrandewch arnaf, cleddyf a'ch difetha; oblegyd genau yr Arglwydd a'i llefarodd.' Ac yr ydym wedi derbyn y rheswm canlynol oddiwrth yr apostolion dros hyn. Gan ein bod yn anwybodus am ein genedigaeth gyntaf, ac wedi cael ein geni o anghenrheidrwydd trwy gyfrwng ein rhieni, a'n dwyn i fyny mewn arferion drwg a dysgeidiaeth ddiffygiol—fel na byddo i ni aros yn blant tynged ac anwybodaeth, ond (plant) rhydd-ddewisiad a gwybodaeth—ac fel y gallom dderbyn yn y dwfr (ἐν τῷ ὕδατι) fadd-euant o'r pechodau a wnaethom o'r blaen, gelwir uwch ben yr hwn sydd yn dewis yr enedigaeth newydd, ac yn edifarhau am bechod, enw Duw, Tad ac Arglwydd pob peth; a chan ei alw ef wrth yr enw yma yn unig, yr ydym yn dwyn y person sydd i gael ei drochi (λουσόμενον) i'r *bath* (λουτρόν): oblegyd ni all neb ddweyd enw annhraethadwy Duw.............Gelwir y *baddiad* (λουτρόν) yma *goleuad* (φωτισμός), am fod y rhai a ddysgant ystyr y pethau hyn wedi eu *goleuo* yn eu meddwl. Ac yn enw Iesu Grist, yr hwn a groes-hoeliwyd o dan Pontius Pilat; ac yn enw yr Ysbryd Glân, yr hwn a ragddywedodd, trwy y prophwydi, yr holl bethau hyn am Iesu, y mae yr hwn a oleuwyd yn cael ei drochi (ὁ φωτιζόμενος λούεται)."

§ 62. "A'r diafliaid, wedi clywed am y golchiad (λουτρὸν) yr hwn a gawsai ei ddysgu gan y prophwyd (τοῦτο διὰ τοῦ προφήτου κεκηρυγμένον), a ddylanwadasant ar y rhai a ant i mewn i'w temlau, a'r rhai sydd ar ddyfod o'u blaen, gan offrymu eu diodoffrwm a'u poethoffrwm, i daenellu eu hunain hefyd; a pharant iddynt fyned ac *ymdrochi yn drwyadl* (neu *olchi eu hunain yn berffaith*—Gr. τέλεον δε καὶ λούεσθαι) cyn y deuant i'r temlau yn y rhai y maent yn preswylio. A'r gorch-ymyn a roddwyd gan yr offeiriaid, i'r rhai a ant i mewn i'r temlau, ac a addolant ynddynt, i ddiosg eu hesgidiau, a ddysgodd y diafliaid, ac a ddynwaredasant, oddiwrth yr hyn a ddygwyddodd i Moses y prophwyd, yr hwn a grybwyllais."

Gwelir oddiwrth y dyfyniadau hyn,—

1. Mai trochiad yw y bedydd Cristionogol.

Defnyddia Justin y sylweddair *loutron* am fedydd, a'r ferf *louo* am fedyddio, y rhai a olygant, fel y sylwyd yn barod yn y gyfrol hon, *ymdrochiad*, *trochiad*, *trochi*, ac *ymdrochi*.

2. Mai *golchiad* yn cael ei ddysgu yn yr Hen Destament, a ddyn-waredai y diafliaid, ac nid bedydd yr efengyl.

Cyfeiria Justin ato fel yr hyn a ddysgai y prophwyd Esaiah (i. 16.).

Yn hytrach nag efelychu y bedydd Cristionogol, mae yn debycach o lawer mai efelychu y defodau Iuddewig i lanhau yr halogedig, yr oedd y paganiaid. Yr oedd amryw o honynt, fel y gwelir yn y dyfyniad:—

(1,) Offrymau; (2,) Taenelliad; (3,) Golchi yr holl gorph; (4,)

Tynu esgidiau wrth fyned i'r temlau. Mae y pethau hyn yn cyduno âg arferion Iuddewig, ond nid â Christionogaeth.

(1,) Yr oedd eisieu offrymu gynt; (2,) Yr oedd eisieu *taenellu* ar yr halogedig; (Num. xix. 13.) (3,) Yr oedd eisieu iddo *ymdrochi;* (Num. xix. 19. Lef. xv. 5.) (4,) Yr oedd yr Iuddewon ar achlysuron neillduol i ddiosg eu hesgidiau; (Ecsod. iii. 5. Jos. v. 5.) Nis gallai y pethau hyn oll fod yn ddynwarediad o Gristionogaeth.

3. Ni ddywedir mai taenelliad *dwfr* oedd yr uchod yn nhemlau'r paganiaid.

Mae'n bossibl mai taenelliad â gwaed ydoedd. Ychwanegiad Dr. Halley a'i frodyr ydyw "â dwfr."

4. *Un peth* yn mhlith pethau ereill oedd y taenellu uchod, fel dynwarediad o bethau Duw.

5. Os cyfeirir o gwbl at ddynwarediad o fedydd yr efengyl yn mhlith y paganiaid yn y dyfyniad uchod, at y *golchiad crybwylledig o'r holl gorph* y cyfeirir, o herwydd ni wyddai Justin am un bedydd arall.

Mae yn fwy naturiol o lawer i ni gymmeryd y golchiadau dan sylw cyn myned i demlau yr eilunod, fel dynwarediad o Iuddewiaeth nag o'r efengyl, *o herwydd nid ydyw yr efengyl yn cydnabod aflendid seremoniol, nac yn gofyn i ddyn faddio ei hun er mwyn ymlanhau oddi wrtho cyn myned i dŷ Dduw;* ond yr oedd Iuddewiaeth yn cydnabod aflendid seremoniol, ac yn gofyn i'r aflan ymdrochi er mwyn ymlanhau, (Lef. xv. 5, 6. 11., &c.) cyn myned i gyssegr Duw. (Lef. xv. 31.) Yr oedd yn rhaid hyd y nod i'r offeiriaid wneyd hyn. (Lef. xxii. 3—6.) Nid oes mwy o sail i'r hyn ddywedir yn ngwaith Dr. Halley a'i ddysgyblion o barthed ysgrifeniadau Clement o Alexandria, ac ereill, ar olchiadau y paganiaid, nag a ddywedir am eiriau Justin, fel y profir yn yr "*Act of Baptism,*" tudal. 66—68.

---

# GWRTHDDADL X.

## Y GAIR SYRIAEG AM FEDYDDIO.

---

*Adroddiad o'r Wrthddadl oddiwrth y Cyfieithiad Syriaeg—Haeriadau y Gwrthddadleuwyr yn nghylch yr iaith a leferid yn Mhalestina yn amser Crist, ac mai cyfieithiad o* Amad *yw* Baptizo, *&c.—M'Ilvaine, Dr. Ed. Robinson, a Dr. A. Roberts ar iaith Palestina yn amser Crist—Lexicon Syriaeg Gutbier—Nad oes yr un prawf fod yr* Amad *Syriaeg wedi deilliaw o'r* Amad *Hebreig—Barn Michaelis—Pe byddai y gair Syriaeg am* fedydd *wedi deilliaw o'r gair Hebraeg am* sefyll, *nid ydyw hyny yn brawf eu bod yn gyfystyr—Engreifftiau gan Gesenius i'r perwyl—Geiriaduron Syriaeg Castel, Buxtorf, Shaaf, a Bernstein ar* Amad*—Y defnydd a wneir o'r gair Syriaeg am fedydd yn y Testament Newydd—Engreifftiau lle y defnyddir y gair heblaw yn y Testament Newydd—Bedydd yn mhlith y Syriaid—Y meddylddrych o* "sefyll i fyny" *yn annghysson â'r Ysgrythyrau—Y Nestoriaid yn arfer yr iaith Syriaeg, ac yn bedyddio trwy drochiad—Nad y cyfieithiad Syriaeg yw ein rheol i grefydda.*

Cyfieithwyd y Testament Newydd yn foreu i'r iaith Syriaeg. Dywedir fod yr hyn a elwir y *Peshito Syriac Version*, wedi cael ei wneyd yn nechreu yr ail ganrif. Dygodd Philoxenus, Esgob Hierapolis, gyfieithiad arall allan, tua dechreu y chweched ganrif. Dywedir gan wrthwynebwyr bedydd trwy drochiad, nad ydyw iaith y *Peshito* yn amrywio ond ychydig oddiwrth yr hon a siaradai Crist a'i ddysgyblion, ac fod yn dra thebygol fod Crist, wrth orchymyn i'w ddysgyblion fedyddio y dychweledigion, wedi defnyddio y gair a geir yn y cyfieithiad Syriaeg am fedydd. Y gair hwnw yw ܥܡܕ *(amad)*, yr hwn, meddir, a gymmerwyd o'r *amad* Hebreig, ac mai ei ystyr yw *sefyll i fyny*, *sefyll yn syth*, &c., ac mai *cyfieithiad* o'r gair hwn ydyw βαπτίζω (*baptizo*), a'r *casgliad* yw, mai gair yn golygu *sefyll i fyny* yw y gair a roddodd Crist wrth orchymyn bedyddio, ac nid gair yn golygu *trochi!* Pan mae *puredigaeth* dan sylw gan ein cyfeillion, *puro* yw ystyr *baptizo;* ond pan ddaw y cyfieithiad Syriaeg i'r bwrdd, ei ystyr y pryd hwnw yw *sefyll i fyny!*

Mae yr wrthddadl uchod yn cymmeryd yn ganiatâol yr hyn nas gellir ei brofi, ac felly mae hi yn hollol ddisail :—

1. Cymmera yn ganiatâol mai y Syriaeg a lefarai Crist a'i ddysgyblion.

Tebycach yw mai yr hyn a elwir *Hellenistic-Greek* a lefarent. Yr oedd yr iaith Roeg y pryd hyny mor adnabyddus yn Mhalestina a'r Hebraeg, ac yn fwy felly gan lawer o'r trigolion. Dywed awdwr yr erthygl ar *Hellenist*, yn *Kitto's Cyclopædia*, gan fod Crist a'r mwyafrif o'i ddysgyblion wedi eu dwyn i fyny yn Galilea, eu bod yn agos mor gyfarwydd â'r Groeg ag â'r Hebraeg. Sicr yw fod yr Hebraeg wedi cael ei rhoddi heibio fel iaith lafaredig gan y bobl gyffredin rai ugeiniau o flynyddoedd cyn Crist, a bod yr iaith Roeg mor hysbys iddynt a'r Aramaeg, gan fod y LXX ganddynt mewn bri, a'r iaith Roeg y pryd hyny yn iaith lafaredig mewn amrywiol wledydd yn Ewrop ac Asia.*

2. Cymmera yn ganiatâol mai *cyfieithiad* yw *baptizo* o *amad.*

Os na ellir profi mai *amad* yw y gair a ddefnyddiodd Crist, oferedd yw son am *baptizo* fel cyfieithiad o hono.

Cymmerodd dadl bwysig a dyddorol le yn yr *Expositor* am 1878, yn nghylch yr iaith a lefarai Crist, a pha un ai gwir eiriau yr Iesu ei hun, ai cyfieithiad o honynt, yw Groeg y Testament Newydd. Dadleuai Dr. Sanday mai yn yr Hebraeg ddiweddar, a elwir Aramaeg, y llefarai y Gwaredwr yn gyffredin, ac mai cyfieithiad o'i ymadroddion yn yr iaith hòno yw ei eiriau yn y Testament Groeg; ac ychwanega nad oedd y gwahaniaeth rhyngddo ef a Dr. Alexander Roberts, yr hwn a ddadleuai mai yn y Groeg yr oedd Crist yn gyffredin yn arfer ymddyddan a phregethu, wedi'r cwbl mewn gwirionedd ond dibwys.

---

* "*In the times of the apostles,*" ebe Dr. M'Ilvaine, "*Greek was almost a universal language. It was spread over all Palestine.* The Jewish coast, on the Mediterranean, was occupied by cities, either wholly or half Greek. On the Eastern border of the land, from the Arnon upwards, towards the North, the cities were Greek; and towards the South, in possession of the Greeks. Several cities of Judea and Galilee were either entirely, or, at least, half peopled by Greeks." (*Bishop M'Ilvaine's Evidences of Christianity. London*, 1856. Pp. 76, 77.)

Yn gyffelyb y dywed Dr. Robinson, New York:—"Meanwhile, the Greek language had become current also in Palestine, along with the Armæan: partly through frequent intercourse with Hellenistic Jews settled in Egypt and Asia Minor, who constantly resorted to Jerusalem; and partly from the influence of the Herods and the Roman dominion. *Hence the New Testament was written in the now universal tongue*..................The writers of the New Testament, with the exception of Paul, and partially perhaps of Luke, were unlearned men; and, like the rest of their countrymen, knew the Greek language only from the intercourse of common life, and not from books." (*Robinson's Greek Lexicon. London*, 1850. p. vi.) Gwel hefyd Dr. Angus's *Christ our Life*, pp. 63, 64. 2nd Ed.; Rhagymadrodd i'r *Annotated Paragraph Bible*, cyf. ii.

"Ond y mae y gwahaniaeth (ateba Dr. Roberts,) mewn damcaniaeth ac yn y canlyniadau ymarferol, mewn gwirionedd yn aruthrol. Yn ol y dyb yna, y mae braidd yr holl eiriau y darfu i Fab Duw lefaru mewn gwirionedd yn y byd hwn wedi cael eu colli, ac nid oes ond adlewyrchiad o honynt wedi cael ei gadw; tra yn ol fy nhyb i, y mae geiriau Crist genym o hyd yn yr iaith y llefarwyd hwynt. Yn ol y dyb yna, y mae Cristionogaeth yn y ffurf y llefarwyd hi gan Grist ei hun wedi diflanu, fel y mae yr hyn a lefarodd efe yn yr Hebraeg, mewn ffordd nas gellir yn hawdd ei hesbonio, wedi dyfod i lawr atom ni yn y Groeg yn unig; tra yn ol fy nhyb i, y mae genym o hyd ddyfodfa trwy yr efengylau sydd yn ein meddiant at y gwir ffynnonau *(integri fontes)* o'r ffydd Gristionogol. Yn ol y dyb yna, y mae llafur esbonwyr yn ceisio dwyn allan ystyr arbenig geiriau ein Harglwydd, i raddau helaeth yn ddiwerth, oblegyd mewn llawer o engreifftiau mae'n sicr nad oedd ymadroddion cyfatebol yn yr Hebraeg; tra yn ol fy nhyb i, y mae y fath ymdrechion yn berffaith reolaidd a phriodol, oblegyd fe'u gwneir mewn cyssylltiad â iaith yr hon a ddefnyddid mewn gwirionedd."

Traethu ar y pwnc mewn modd cyffredinol mae Dr. Roberts, ond y mae ei sylwadau grymus yn hynod o gymhwysiadol at y pwynt dan sylw yn y bennod hon.

3. Fod *baptizo* yn golygu *sefyll i fyny.*

Darganfyddiad dyddorol fyddai cael engraifft lle y golyga *baptizo sefyll i fyny.* Os amcan yr ysgrifenydd santaidd oedd cyfleu y syniad o *sefyll i fyny*, gallesid meddwl y buasai y ferf *anistêmi* (ἀνίστημι) yn ateb ei ddyben yn llawer gwell na *baptizo.* Pe cyfieithiad o *amad* fyddai *baptizo*, y gwir gasgliad fyddai hwn,—*Fod yr apostolion yn ystyried mai ystyr* AMAD *yw* TROCHI, *a'u bod wedi ei gyfieithu i air yn golggu hyny*, *sef* BAPTIZO.

4. Cymmerir yn ganiatâol hefyd yn yr wrthddadl fod y ferf Syriaeg *amad* wedi ei chymmeryd o'r ferf Hebreig *amad*, a'u bod yn gyfystyr.

Hyn yw y pwynt mewn dadl. Ond os gellir dangos perthynas y geiriau i'w gilydd, yr hyn, modd bynag, sydd ammheus, peth arall yw profi mai yr un peth yw ystyr y ddau. Ymddengys yn ol Michaelis, Dr. Gotch, a Dr. B. Davies, na chafwyd eto un engraifft o'r ferf Syriaeg *amad* yn golygu *sefyll;* ond ar y llaw arall ei fod yn hollol debygol fod unwaith yn y Syriaeg wreiddair *amad*, o'r hwn y mae y sylweddair a gyfieithir "colofn" neu "golofnau," (1 Tim. iii. 15. Gal. ii. 9. Dad. iii. 12. x. 1.) yn darddair. Barnai y diweddar Ddr. B. Davies ei fod ef wedi canfod engreifftiau o'r *amad* Hebraeg ei hun yn golygu *suddo* neu *ddisgyn.* Gwel Dr. Benjamin Davies's *Hebrew Lexicon*, עמד.

Yn *Lexicon* Syriaeg a Lladin Gutbier, yr hwn a gyhoeddwyd o dan olygiad Dr. Henderson, ceir yr ystyron hyn i *amad* :—

"ܥܡܕ *baptizavit, baptizatus est,* item, *sustentavit*"=bedyddiodd, bedyddiwyd ef, *hefyd,* cynnaliodd.

Mae genym dri sylw i wneyd ar dystiolaeth y Geiriadur uchod :—

1. Gan mai y gair *baptizo* a ddefnyddia, nis gwyddom pa ystyr a gyssyllta âg ef.

2. Nad ydyw yn cyfeirio at un awdurdod dros roddi yr ystyr o *gynnal* i'r ferf.

3. Ei fod *yn unig* yn mhlith y Geiriaduron wrth roddi yr ystyr o *gynnal* i *amad.* Mae y Geiriaduron ereill, fel y cawn weled wrth fyned rhagom, yn erbyn yr ystyr o *sefyll* neu *gynnal.*

Ond y mae yn hollol eglur nad ydyw yr olwg a rydd pleidwyr taenelliad ar fabanod ar y pwnc hwn, yn gywir, oblegyd

1. Nid oes yr un prawf fod y ferf Syriaeg *amad* wedi deilliaw o'r ferf Hebreig *amad.* Gwnaeth yr ysgolhaig mawr hwnw, Michaelis, yn ei argraffiad o *Lexicon* Syriaeg Castell, y nodiad canlynol ar y gair dan sylw :—

"Yn yr ystyr yma o fedyddio nid ychydig sydd yn cymharu (y gair) â'r *amad* Hebraeg *safodd,* fel y gall *sefyll* fod *sefyll yn yr afon, ac ynddi i gael ei drochi.* Ymddengys yn fwy tebygol i mi, ei fod yn air hollol wahanol i'r *amad* (Hebraeg), a'i fod trwy ryw gyfnewidiad yn y llythyrenau wedi deilliaw o'r (gair Arabaeg) GHAMATA neu AMATA, *tansoddi.*"

Yn ol Michaelis, gan hyny, nid o'r ferf Hebreig *amad=sefyll,* y deilliodd y gair Syriaeg am fedydd, ond o'r gair Arabaeg *amata,* yr hwn a olyga *tansoddi.*

2. Pe byddai y gair Syriaeg am fedydd, a'r gair Hebraeg am *sefyll,* wedi deilliaw o'r un gwreiddyn, ni phrofai hyny eu bod yn gyfystyr.

"Nid ydyw yn beth annghyffredin," ebe Gesenius, "fod yr un gwreiddair mewn gwahanol dafodieithoedd, neu yn y gwahanol dreigliadau o'r un iaith, yn gosod allan feddylddrychau hollol wrthwynebol. Cymharer yn Hebraeg, ABAH, *bod yn ewyllysgar;* yn Arabaeg, *bod yn anewyllysgar.* CHATA, *pechu;* CHITTE (Piel), *offrymu dros bechod, dileu pechod;* SHERESH, *diwreiddio;* SHORESH a HISHRISH, (Poel a Hiphil), *gwreiddio.*" (*Gesenius's Hebrew Lexicon, by Gibbs.* נכר *Nachar.*)

Ein hamcan wrth ddwyn y nodiadau hyn yn mlaen yw dangos, pe byddai y gair Syriaeg am fedydd a'r ferf Hebreig *amad* yn berthynasau, nad ydyw hyny yn profi eu bod yn gyfystyr, oblegyd mae hyd y nod yr un ferf Hebraeg yn ei gwahanol dreigliadau yn meddu ystyron hollol wrthwynebol; ac os felly, oni allai *amad* olygu *sefyll i fyny* yn Hebraeg, a *dodi i lawr* neu *soddi* yn y Syriaeg?

Yr ydym wedi ymresymu hyd yma ar y dybiaeth *pe byddai* yr haeriad yn gywir, fod y gair Syriaeg am fedydd wedi deilliaw o'r *amad* Hebraeg, nad ydyw hyny o anghenrheidrwydd yn profi nad ydyw yr *amad* Syriaeg yn golygu *trochi.* Ond gan nad ydyw hyn ond haeriad disail, yr ydym yn ymwrthod âg ef, ac awn rhagom i ddangos mai ystyr y ferf Syriaeg yw *trochi* neu *suddo.*

## I. TYSTIOLAETH Y GEIRIADURON.

*Castell's Syriac Lexicon.*—AMAD (ܥܡܕ),—Golchwyd ef, bedyddiwyd ef. *Aphel,* trochodd, bedyddiodd.

*Buxtorf's Syriac Lexicon.*—AMAD,—Bedyddio, trochi, golchi, ymdrochi. *Ethp.* Yr un peth, *Aphel,* bedyddio.

*Shaaf's Syriac Lexicon.*—AMAD,—Ymolchodd, golchiad, trochiad, tansuddiad mewn dwfr, bedyddiwyd ef. *Aphel,* tansuddodd, bedyddiodd. (Gwel *Gotch's Critical Examination of the rendering of the word Baptizo, &c.,* pp. 10, 11. *Greenfield's Defence of the Serampore Mahratta Version,* pp. 29—45.)

*Bernstein's Syriac Lexicon.*—AMAD,—1,) *Trochwyd, tansuddwyd ef; trochodd, ymdrochodd* (gyda *Beth,*) *i ryw beth. Tansudda (amad) ei hun i ddyfnder y môr,* tud. 209. llinell 5. *Suddodd blaen* (y saeth) *i'w ymenydd, glynodd yn ei ymenydd.* Chroniclau Bar Hebraeus, tud. 558. llinell 2. Ffugyrol, *suddodd y diwrnod,* hyny yw, lleihaodd, ciliodd ymaith. Gweithiau Ephraim Syrus, cyf. i. tud. 81. llinell 29.

2,) *Baddiwyd, golchwyd ef* trwy drochiad mewn dwfr.

3,) *Dygwyd ef i mewn trwy y baddiad santaidd, bedyddiwyd ef.*

APHEL. (Groeg, *baptein, baptizein.*)

1,) *Trochodd, tansuddodd.*

2,) *Ymdrochodd, ymlanhaodd.*

3,) *Bedyddiodd.*" (*Bernstein's Lexicon Syriacum,* p. 378. *Lipsiae,* 1836.)

Sylwer nad ydyw Dr. Bernstein yn rhoddi yr ystyr o *sefyll* i'r ferf mewn un modd, nac yn awgrymu ei bod wedi deilliaw o'r Hebraeg; ond yn hytrach yn rhoddi iddi yr ystyr o *drochi,* neu *ymolchi trwy drochiad.* Gwelir hefyd ei fod yn dyfod âg awdurdod yr awdwyr Syriaidd dros yr ystyr yma.

Mae y Geiriaduron, gan hyny, yn unfrydol yn tystiolaethu mai ystyr amlwg a phriodol y ferf Syriaeg *amad,* yw, *trochi* neu *suddo.*

## II. Y DEFNYDD A WNEIR O'R GAIR SYRIAEG AM FEDYDD YN Y TESTAMENT NEWYDD.

Darfu i Dr. Gotch, Coleg Bristol, wneyd ymchwiliad manwl a beirniadol i'r defnydd a wneir o *amad* a'i darddeiriau yn y Testament Newydd Syriaeg, a chafodd eu bod yn sefyll am BAPTIZO a'i darddeiriau 120 o weithiau; fod y sylweddair *maamuditho* (yr hwn a olyga *fedydd* a *bedyddfa*,) yn cael ei ddefnyddio bedair gwaith am KOLUMBETHRA—*llyn*, (Ioan v. 2. 4. 7. a ix. 7.) a dwywaith am PHOTISTHENTES—*bod yn oleuedig*. (Heb. vi. 4. x. 32.) *Gotch's Critical Examination of the rendering of Baptizo, &c.*, pp. 11, 12.

Os ydyw y gair Syriaeg am *fedydd* a *bedyddfa* yn cael ei ddefnyddio yn Ioan v. 2. 4. 7. am *kolumbêthra=llyn, ymdrochle, lle i nofio*, mae'n amlwg fod y ferf o'r hon y deillia yr enw yn golygu *trochi*, neu ni fuasai y gair byth yn cael ei ddefnyddio am *lyn*, neu *le i nofio*.

Defnyddir y ferf hefyd am *baptizo* yn Marc vii. 4. a Luc xi. 38, lle y dynoda waith y Phariseaid naill ai yn *ymdrochi* neu yn *golchi eu dwylaw trwy drochiad*, ar ol bod yn y farchnad: gwel tudal. 52—54. Nis gall fod yma *sefyll i fyny*, ond *trochiad*:—"A *phan ddelont* o'r farchnad, oni bydd iddynt *ymolchi* (Gr. *βαπτίσωνται*, Syr. *omidin*,) ni fwytânt. A llawer o bethau ereill y sydd, y rhai a gymmerasant i'w cadw, megys golchi (Gr. *βαπτισμοὺς*, Syr. *maamuditho*,) cwpanau, ac ystenau," &c. (Cymharer â Lef. xi. 32.)

Ceir y ferf *amad* yn Mat. xx. 22. am fedydd dyoddefaint Crist, lle mae y meddylddrych o *orchuddio â dyoddefaint*, neu *suddiad mewn gofid;* mae pob ystyr arall yn ddinystr ar y ffugyr, ac yn groes i rediad naturiol y geiriau.

Amlwg yw, gan hyny, fod y cyfieithydd neu'r cyfieithwyr Syriaeg o'r Testament Newydd, yn ystyried fod *amad* yn golygu *trochi* neu *soddi*.

## III. ENGREIFFTIAU LLE Y DEFNYDDIR Y GAIR HEBLAW YN Y TESTAMENT NEWYDD.

Numeri xxxi. 23. "Pob dim a ddyoddefo dân, a dynwch trwy y tân, a glân fydd; ac eto efe a lanheir â'r dwfr neillduaeth; a'r hyn oll ni ddyoddefo dân, tynwch trwy *(amad)* y dwfr"—"*a drochwch mewn dwfr*."

Cyfieithwyd yr Hen Destament i'r Syriaeg tua'r un amser a'r Testament Newydd, ac yn yr adnod uchod, ceir *amad* lle y golyga *drochi*.

Cynnysgaetha Dr. Gotch ni â dwy engraifft, lle mae yn amlwg y golyga y gair *drochi* neu *suddo*. Mae y gyntaf o ysgrifau Ephraim

Syrus, yr hwn a flodeuodd yn y bedwaredd ganrif. Wrth son am Grist, dywed:—

"Mor rhyfedd yw fod dy gamrau di wedi eu planu ar y dyfroedd, fod y môr mawr yn darostwng ei hun i'th draed; ac fod eto mewn afon fechan yr un pen yna o'r eiddot yn ddarostyngedig *i gael ei ogwyddo i lawr a'i fedyddio ynddi*"—ܕܪܟܢ ܘܥܡܕ ܒܗ (*d'rken vaamad beh.*)

"Yn yr engraifft hon," ebe Dr. Gotch, "nid yn unig y mae dull y bedydd yn cael ei osod allan drwy y gair *r'ken*, yr hwn a geir yn Ioan xix. 30, 'Efe a *ogwyddodd* ei ben,' yr hwn a gyssylltir âg *amad*, ond y mae yma gyferbyniaeth yn cael ei thynu rhwng y môr yn cael ei ddarostwng i draed Crist, a'i ben ef yn cael ei ddarostwng i afon fechan; yr hyn a ymddengys i beidio caniatâu yr un ystyr arall, heblaw mai fel yr oedd y môr yn cael ei ddodi o dan ei draed ef, felly y dodwyd ei ben ef o dan yr afon."

Yr engraifft arall a rydd sydd o ddefodlyfr crefyddol y Nestoriaid, yr hwn fel y tybir a gasglwyd gan Jesujabus Adjabenus, patriarch yr adran hon o'r eglwys Syriaidd o'r flwyddyn 650 hyd 660. Yr ydym wedi rhoddi yr engraifft hon yn barod o flaen y darllenydd, yr hon a gymmerwyd o'r Lladin gan Robinson, Caergrawnt. Mae i'w chael (yn *Assemani Bibliotheca Orientalis, vol.* iii. *pt.* 2. p. ccxli.) yn Syriaeg a Lladin. Dyfynodd Mr. Robinson o'r cyfieithiad Lladin, a Dr. Gotch o'r Syriaeg gwreiddiol:—

"Y diaconiaid, wedi eu gwisgo yn briodol, a arweiniant y plentyn wedi ei orchuddio â gorchudd, rhag i'r olew santaidd gyffwrdd â'u dillad; a dygant ef at yr offeiriad, yr hwn gan sefyll ar yr ochr Orllewinol i'r Iorddonen (hyny yw, y bedyddfan) a dry wyneb y plentyn i'r Dwyrain, *ac a'i trocha mewn dwfr*, ܡܥܡܕ ܠܗ ܒܡܝܐ, ac a ddyd ei law ar ei ben, ac a ddywed, *Y cyfryw un a fedyddir* ܥܡܕ ܦܠܢ yn enw y Tad," &c. (*Gotch's Critical Examination*, pp. 13, 14.) Yma defnyddir y ferf *amad* yn gyfystyr â'r ferf *tabae*,* yr hon yn ddiammheuol a olyga *drochi* neu *dansoddi*.

Dodwn un engraifft arall o Esboniad Bar Hebræus, ar Job xli., yn yr hwn y darlunia y lefiathan, neu anghenfil mawr y dyfnder, ac y gesyd allan ei wrhydri. Yn ei ddesgrifiad o hono dywed:—

"Nis gallant ddeall pa fodd i'w orchfygu. Ac y mae yn sicrhau

---

* "TABAE,—*Mersus, demersus, submersus est, Ps.* lxix. 15; *immersus,*" *&c.—Dr. Bernstein's Lexicon Syriacum.*

ei hun ar y ddaear yn ei ymosodiad; *efe a sudda ei hun* (AMAD) *i waelod y môr;* ܒܥܘܡܩܗ ܕܝܡܐ ܥܡܕ efe a ddyg i ddinystr pa beth bynag a wel yn uchel, (neu uwch ben iddo,) gan ddymchwelyd y llongau a safant allan o'r dyfroedd." (*Kirshii Chrestomathia Syriaca*, p. 209.)

Yn yr engraifft hon, ceir y ferf *amad* am waith yr anghenfil morawl yn *ymsuddo i waelod y môr;* y mae y geiriau i *waelod y môr*, fel y gwelir, yn cael eu defnyddio gydag *amad*, i ddangos *dyfnder suddiad* a chyflymder ysgogiad y creadur dan sylw. Ceir yr un ferf hefyd yn y "*Theophania of Eusebius.*" *B.* i. § 17. yr hon a gyfieithir *immerge* gan Prof. Lee, ac yn "Edifeirwch Ninefeh" gan Ephraim Syrus, yr hon a gyfieithir *drowned* gan Dr. Burgess. (*Repentance of Nineveh*, pp. 36, 37.) Gwel yn mhellach erthygl Dr. B. Davies ar y pwnc hwn yn y "*Bibliotheca Sacra*," am *July*, 1851; ac erthygl Dr. Toy yn yr "*American Baptist Quarterly*," am 1872.

## IV. BEDYDD YN MHLITH Y SYRIAID.

Mae sect o Gristionogion yn y Dwyrain, yr hon a elwir wrth wahanol enwau, megys *Sabaeaid*, *Zabiaid*, *Mendaitiaid*, a *Christionogion St. Ioan.* Honant eu hunain yn ddysgyblion i Ioan Fedyddiwr. Deillia eu henw *Zabaeaid* oddiwrth eu harferiad yn bedyddio. Ystyr y gair Syriaeg *zabae*, ydyw *trochi* neu *suddo*, a chan fod y rhai hyn yn *trochi* y dysgyblion, gelwid hwy *Zabaeaid* neu *Drochwyr.* Mae y geiriau Syriaeg *amad* a *zabae*, yn gyfystyr, yn debyg i'r geiriau Cymraeg *trochi* a *suddo*, a'r geiriau Seisnig *dip* a *immerse.* (*Neander's Church Hist.*, *vol.* i. *sect.* iv.)

Mae hanes y bobl hyn dipyn yn dywyll, a haneswyr yn gwrthddweyd eu gilydd. Dyry Robinson y crynhodeb canlynol am danynt:—

Tybia efe mai y peth tebycaf yw fod eu dechreuad wedi cymmeryd lle gyda rhyw Iuddewon a breswylient lànau yr Iorddonen, y rhai a fedyddiwyd gan Ioan, ac a dderbyniasant athrawiaeth Iesu Grist; a'u bod wedi trosglwyddo eu hathrawiaeth a'u bedydd i'w canlynwyr. Fod eu holynwyr, er gochelyd trueni eu gwlad enedigol, wedi myned o Palestina i Caldea a Mesopotamia. Preswylient y trefi hyny yn unig ag sydd yn cael eu dyfrhau gan afonydd; ac yn mis Gorphenaf, bob blwyddyn, y maent yn cadw gwyl bedydd, ac, yn ol rhai teithwyr, y maent oll yn cael eu hail-fedyddio yn flynyddol mewn afon. Ond y mae yn llawer mwy credadwy mai unwaith yn y flwyddyn yn unig y maent yn gweinyddu bedydd, ac nad ydynt y pryd hyny yn bedyddio neb ond y rhai na fedyddiasid o'r blaen. Er

holl wrthddywediadau teithwyr, *y maent oll yn cyduno i dystiolaethu am y bobl hyn eu bod yn bedyddio trwy drochiad mewn afonydd.* (*Robinson's History of Baptism*, pp. 495, 496. *Orchard's History of Foreign Baptists*, pp. 117—124.)

Dywed Dr. Wall fod holl Gristionogion Asia, a'r oll yn Affrica, a'r drydedd ran o Gristionogion Ewrop, yn ei ámser ef, yn bedyddio trwy drochiad, ac felly rhaid fod y Syriaid yn eu plith. (*Wall's Hist. vol.* ii. p. 414.)

Dywed Dr. Henderson fod y rhai hyn yn gweinyddu bedydd trwy dywallt; ond nid oes ganddo yr un awdurdod dros yr haeriad. Ond gan fod Cenadon Eglwys Rhufain wedi llwyddo i ennill llawer o aelodau yr eglwysi Syriaidd i gydnabod pennogaeth y Pab, nid rhyfedd os cyfnewidiwyd dull gweinyddiad bedydd yn mhlith y cyfryw. Cymharer, modd bynag, y sylw ar waelod tud. 106. o'r gyfrol hon. Tybia rhai mai yr un dosbarth o bobl ydyw Cristionogion St. Ioan, a'r Yezeedees yn Mesopotamia. Pa un bynag ai yr un a olygir ai peidio, mae'n sicr fod yr Yezeedees yn bedyddio trwy drochiad, ac y maent yn siarad math o Syriaeg lygredig. (*Badger's Nestorians and their Ritual, vol.* i. pp. 126—128. *Dr. Grant and the Mountain Nestorians*, p. 121. *Dr. Eadie's Ecclesiastical Encyclopædia, Art.* "*Yezidis.*")

## V. Y MAE Y MEDDYLDDRYCH O SEFYLL I FYNY YN ANNGHYSSON A'R YSGRYTHYRAU.

Mae Paul (Rhuf. vi. 4.) yn edrych ar fedydd fel arwyddlun o *roddiad i lawr* a *chyfodiad i fyny*,—"*Claddwyd* ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y *cyfodwyd* Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau mewn newydd-deb buchedd." "Wedi eich *cydgladdu* âg ef yn y *bedydd*, yn yr hwn hefyd y'ch *cyfodwyd* trwy ffydd gweithrediad Duw, yr hwn a'i *cyfododd* ef o feirw." (Col. ii. 12.) Yn awr, nid oes dim yn amlycach i'r diduedd, na bod yma *ddodiad i lawr* a *chyfodiad i fyny*, a bod y *claddiad* i ragflaenu yr *adgyfodiad.* Pe mai *sefyll i fyny* neu *gynnal fel colofn*, fuasai ystyr y gair Syriaeg am fedydd, pa le byddai'r synwyr wrth son am *gladdu* a *chyfodi* yn yr ordinhad? A fyddai synwyr yn y geiriau, "Wedi eich cydgladdu âg ef *trwy sefyll i fyny*, neu yn y *safiad i fyny*, yn yr hwn hefyd y'ch *cydgyfodwyd!!*" Na! nid oes *cydgyfodi* heb *gydgladdu* yn flaenorol.

Felly hefyd am adnodau ereill. Pa synwyr fyddai yn y geiriau, "Ac efe a *safwyd i fyny—a gynnaliwyd i fyny* gan Ioan i'r (*eis*) Iorddonen?" (Marc i. 9.)

*Yn hytrach na ffafrio y meddylddrych o* SEFYLL I FYNY, *mae y*

*Testament Syriaeg yn bendant yn son am* FYNEDIAD I LAWR *yn y bedydd.*

Fel hyn y darllena y Testament Syriaeg Heb. vi. 4—6:—"Ond hwy, y rhai *a aethant i* WAERED *unwaith i fedydd,* ac a brofasant y rhodd o'r nef, ac a dderbyniasant yr Ysbryd Glân, ac a brofasant air daionus Duw, a gallu y byd a ddaw, ni allant bechu eto, ac eilwaith gael eu hadnewyddu i edifeirwch; neu eilwaith groeshoelio a dirmygu Mab Duw." Y gair Groeg am yr hwn y saif bedydd yn y cyfieithiad uchod yw φωτίζω=*goleuo;* defnyddid ef yn y canrifoedd cyntaf yn gyfystyr â bedydd, fel y dengys Justin Ferthyr (*Apol. I.* 61.) ac ereill, am fod y rhai a fedyddid wedi cael eu goleuo yn y wybodaeth am Dduw. Cymmerodd y cyfieithydd Syriaeg y gair *goleuo* yn yr adnod uchod i olygu *bedydd,* a chyfieithodd ef fel y gwelir uchod. Ond nid *safiad i fyny* oedd bedydd yn ei olwg, ond yn hytrach *suddiad i lawr*, er mwyn yr hyn yr oedd yr ymgeisydd yn *myned i waered.* Sylwer hefyd ar y cyfieithiad a roddant o'r adnodau canlynol:—

Ioan v. 4. "Oblegyd angel, o amser i amser, a ddisgynai i'r *bedyddfa*, ac a gynhyrfai y dwfr."

Ioan ix. 7. "Dos, ymolch yn *medyddfa* Siloam."

Col. ii. 12. "A chwi a gladdwyd gydag ef, drwy fedydd; a thrwy yr un y cyfodwyd chwi gydag ef; tra yr oeddych yn credu yn ngallu Duw, yr hwn a'i cyfododd ef o feirw." (Gwel *Dr. Murdock's Translation of the Syriac Testament.*)

## VI. DULL BEDYDD YN MHLITH Y NESTORIAID, YN PROFI MAI YSTYR Y GAIR SYRIAEG AM FEDYDD YW TROCHI.

1. Y Syriaeg ydyw iaith grefyddol a llafaredig y Nestoriaid.

"*The language of the Nestorians,*" ebe Dr. Perkins, Cenadwr llafurus yn eu plith, "*a modern dialect of the Syriac, is derived as directly from that venerable tongue, as the modern Greek, from the ancient.*" (*Kitto's Journal of Sacred Literature, July*, 1853, p. 382.)

"Yr wyf wedi galw iaith y Nestoriaid yn Syriaeg," ebe y Parch. G. P. Badger, "am ei bod yn hollol yr un â'r hon a lefarir gan y *Jacobite Syrians*, yr unig wahaniaeth sydd yn ffurf y llythyrenau a'r nodau llafar (*vowel-points*), y rhai a gyfnewidiwyd gan Gregory Bar Hebraeus, yn y drydedd ganrif ar ddeg. Er mwyn gwahaniaeth, modd bynag, gelwir hi weithiau y Syro-Caldeaeg." (*Badger's Nestorians, vol.* i. p. 181.)

Y Syriaeg yw eu hiaith lafaredig. Pan ymwelodd dau o ddysg-

awdwyr Nestoraidd â Llundain, yn 1862, trwy y Syriaeg yr oeddynt yn gallu dal cymdeithas â'r Saeson,—B. S. Cooper, awdwr Grammadeg Syriaidd, oedd yn cyfieithu rhyngddynt a boneddigion y brif ddinas. (Gwel *Quiver*, 1862.) Yn y Syriaeg y maent yn gwneyd gweithredoedd ar dir, a chytundebau masnachol. Gellir gweled copi o weithred (*title-deed*) a wnaeth Mar Shimon a'r offeiriad Abraham, pan y trosglwyddasant dir i adeiladu tŷ Cenadol i Dr. Grant, yr hon a ysgrifenwyd yn y Syriaeg, *a'r frawddeg gyntaf o honi yn y Syriaeg gwreiddiol*, yn y llyfr dyddorol hwnw, *Dr. Grant and the Mountain Nestorians*, pp. 265—267. "*Aside from the character, their church books are in good Syriac*," ebe Smith a Dwight. (*Missionary Researches in Armenia, &c.*, p. 371. *London*, 1834. *Dr. Grant's Nestorians, or the Lost Tribes*, pp. 153, 154.)

2. Y cyfieithiad Syriaeg o air Duw a ddarllenant.

Gwasgarai Dr. Grant gopiau o'r Ysgrythyrau yn eu plith, yn y Syriaeg henafol (*ancient Syriac*), yn gystal ag yn y Syro-Caldeaeg. (*Dr. Grant and the Mountain Nestorians*, p. 315. *Missionary Researches by Smith and Dwight*, p. 371.)

Gellir gweled yn Mynegiadau y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, eu bod yn gwasgaru Testamentau Syriaeg yn mhlith y Nestoriaid. (*Syro-Chaldaic=Syriac in Nestorian Characters, Report*, 1860. *Appendix*, p. 56.)

Mae yn hollol amlwg, oddiwrth weithiau Badger, Grant, Laurie, Smith a Dwight, yn nghyda'r ystyriaethau uchod, mai y Syriaeg yw mam-iaith y Nestoriaid, ond fod ychydig o wahaniaeth ynddi yn bresennol i'r hyn ydoedd yn yr hen amseroedd, yn debyg fel y gwahaniaetha Cymraeg y dydd heddyw oddiwrth Gymraeg yr hen enwogion Cymreig.

3. Mae y Nestoriaid yn edrych ar y gair Syriaeg *amad*, yn arwyddo *trochi*.

Sylwyd yn barod eu bod yn ei ddeall felly *gynt*; y mae yr un mor sicr eu bod yn edrych arno yn gofyn trochi *yn awr*. Yn 1842, 1843, 1844, anfonodd Archesgob Caergaint, ac Esgob Llundain, a Chymdeithas Lledaeniad Gwybodaeth Gristionogol mewn Gwledydd Tramor, y Parch. G. P. Badger, ar daith ymchwiliadol i blith Cristionogion Mesopotamia a Kurdistan. Mewn canlyniad i hyn, cyhoeddodd ddwy gyfrol werthfawr, yn cynnwys hanes ei ymchwiliadau. Yn yr ail gyfrol, cyffelyba ddefodlyfr crefyddol y Nestoriaid i Lyfr Gweddi Eglwys Loegr. Wele y cyfieithiad a rydd o wasanaeth bedydd yn mhlith y Nestoriaid:—

"Yna hwy a'i dygant at yr offeiriad, yr hwn fydd yn sefyll wrth y ffynnon, yr hwn a'i *doda ef ynddi* a'i wyneb tua'r Dwyrain, ac *a'i trocha ef ynddi deirgwaith*, gan ddywedyd y tro cyntaf: A. B., bedyddier di yn enw y TAD. Amen. Yr ail waith: Yn enw y MAB. Amen. A'r drydedd waith: Yn enw'r YSBRYD GLAN. Amen. Wrth ei drochi, efe a'i sodda i fyny hyd at ei wddf, ac yna a rydd ei law arno fel y byddo i'w ben gael ei dansuddo *(submerged)*. Yna'r offeiriad a'i cymmer ef allan o'r ffynnon, ac a'i rhydd i'r diacon, yr hwn a'i rhwyma i fyny mewn napcyn gwyn, ac a'i trosglwydda i'w dadau bedydd." (*Badger's Nestorians, vol.* ii. pp. 207, 208. *Edition* 1852.)

Pan ofynodd y Cenadon Americanaidd, Smith a Dwight, pan ar eu hymchwiliadau Cenadol yn Asia, yn 1830, 1831, i Esgob Nestoraidd yn nghylch bedydd; ei ateb oedd:—" Gweinyddir bedydd," eb efe, "yn yr eglwysi yn unig, ac y mae holl gorph y plentyn yn cael ei drochi deirgwaith yn y dwfr, oblegyd fod Ioan wedi trochi ein Hachubwr dair gwaith yn yr Iorddonen." (*Missionary Researches in Armenia, &c.* p. 382.) Mae tystiolaeth teithwyr a haneswyr am hyn yn bendant ac unol.

*Wedi'r cwbl, cofier nad y cyfieithiad Syriaeg ydyw ein rheol i grefydda.* Beth bynag a all hwnw ddysgu, nid hwnw yw yr awdurdod uchaf. Yn llygad y ffynnon y ceir y dwfr puraf, a'n hawdurdod ni yw y geiriau a ysgrifenodd dynion santaidd Duw o dan gyfarwyddyd anffaeledig yr Ysbryd Glân. Ysgrifenodd yr apostolion a'r efengylwyr y Testament Newydd yn yr iaith Roeg, a *baptizo* yw y gair a ddefnyddiasant i osod allan y weithred o fedyddio. Dangoswyd yn y tudalenau blaenorol fod y Groegiaid yn deall y gair hwn i olygu *trochi*, cyn Crist ac ar ol Crist, yn baganiaid a Christionogion; profwyd fod y Cristionogion cyntefig wedi deall fod Crist yn gorchymyn *trochi*, a bod Eglwys Groeg yn parhau i drochi hyd y dydd hwn; gan fod yr un gair ag oedd yn gofyn trochi yn y canrifoedd cyntefig yn y commisiwn *yn awr*, mae'n amlwg y dylid trochi yn awr fel cynt. A hyd nes y rhoddo Crist gommisiwn newydd gwahanol i'w eglwys, ni ddylai yr un arferiad arall gael ei oddef i ddiddymu ordinhad Crist, rhag i ninnau fod yn agòred i'r un cerydd a'r Phariseaid,—"Gwych yr ydych yn rhoddi heibio gorchymyn Duw, fel y cadwoch eich traddodiad eich hunain!" (Marc vii. 9.)

---

# RHAN III.

---

# DEILIAID BEDYDD.

---

## DOSRAN I.

## DYSGEIDIAETH Y TESTAMENT NEWYDD AR Y DEILIAID.

---

### PENNOD I.

#### IOAN FEDYDDIWR A'I WEINIDOGAETH.

*Hanes a Chymmeriad Ioan Fedyddiwr—Ei Weinidogaeth—Ei Weinidogaeth a'i Fedydd yn Ddechreuad yr Oruchwyliaeth Efengylaidd—Gwrthddadleuon yn erbyn y Golygiad hwn, oddiwrth*—(1,) *Hanes y Deuddeg Dysgybl yn Ephesus*—(2,) *Y Commisiwn*—(3,) "*Y lleiaf yn Nheyrnas Nefoedd.*"

Dadleuir nad yw hanes gweinyddiad bedydd gan Ioan Fedyddiwr yn gymhwysiadol at fedydd o dan yr efengyl, ac mai nid bedydd Cristionogol a weinyddai efe. Mae o bwys i ni, gan hyny, cyn cyfeirio at esiampl Ioan, i ymofyn a ydoedd efe mewn gwirionedd yn un o swyddogion teyrnas nefoedd, ynte yn perthyn i'r gyfundrefn gysgodol.

Yr oedd Ioan Fedyddiwr yn gymmeriad pwysig. Rhagfynegai y prophwydi ei ymddangosiad, a rhaghysbysent natur ac amcan ei swydd, sylwedd yr hon oedd galw ar y bobl i roddi derbyniad teilwng i'r Messiah. (Esai. xl. 3. Mal. iii. 1. Mat. iii. 3.) Efe a anrhydeddwyd â'r gwaith o fedyddio y Gwaredwr, a'i nodi allan i'r byd fel Mab y Goruchaf ac Enneiniog y nef. Mae person o nodwedd

hwn, a'r hwn sydd yn llenwi y fath gyfwng pwysig, a'r fath swydd oruchel yn ngoruchwyliaethau Duw, yn deilwng o sylw pwyllog a chraffus pob efrydydd o'r Testament Newydd.

## I. Crynhodeb o Hanes ei Fywyd a'i Farwolaeth.

### 1. *Ei Enedigaeth.*

Yr oedd Ioan o du ei dad a'i fam o deulu offeiriadol. Yr oedd ei dad Zacharias yn offeiriad o ddydd-gylch Abia, ac yn offrymu arogldarth pan yr addawyd mab iddo; ac yr oedd ei fam Elizabeth hefyd yn un o ferched Aaron. (Luc i. 5. 1 Chron. xxiv. 10.)

Nid oedd ei enedigaeth, yr hon a ragfynegasid gan yr angel Gabriel, yn ol trefn arferol natur, ond yn ol cyfryngiad gwyrthiol y gallu Dwyfol. (Luc i. 7—19.)

### 2. *Dull ei Fywyd.*

Mae hanes Ioan am ddeng mlynedd ar hugain yn cael ei grynhoi yn nghyd i un adnod:—"A'r bachgen a gynnyddodd, ac a gryfhawyd yn yr ysbryd, ac a fu yn y diffaethwch hyd y dydd yr ymddangosodd i Israel." (Luc i. 80.)

Yr oedd yn Nazaread i Dduw o'r groth hyd ei fedd. (Luc i. 15. Mat. xi. 18. Num. v. 1—21.)

Arweiniai fywyd o hunanymwadiad, gan ymborthi ar yr hyn a gynnyrchai y diffaethwch. (Mat. iii. 4. Lef. xi. 22. Salm lxxxi. 16.)

### 3. *Ei Garchariad a'i Farwolaeth.*

O herwydd ei onestrwydd yn ceryddu Herod Antipas, neu Herod y Tetrarch, am ei annuwioldeb, cafodd ei garcharu yn nghastell Machaerus, ar yr ochr Ddwyreiniol i'r Môr Marw; lle ar ol hyny y llofruddiwyd ef. (Mat. xiv. 4. 10.)

### 4. *Ei Wroldeb Moesol, a Sefydlogrwydd ei Gymmeriad.*

Daeth allan yn ysbryd a nerth Elias (Luc i. 17.); ceryddai y brenin am ei bechod, yr un modd a'r werin; a tharanai yn erbyn rhagrith ac ofergoeledd ei oes. (Mat. iii. 7—9. xiv. 4.) Pan anfonodd yr Arglwydd Iesu y ddau ddysgybl yn ol at Ioan i hysbysu yr hyn a welsent ac a glywsent, cymmerodd yr Iesu achlysur i roddi y dyrfa oedd o'i amgylch ar ei gwyliadwriaeth rhag tybied fod Ioan ei hun wedi cael ei siglo yn ei feddwl o barthed i Iesu fel y Messiah, trwy appelio at eu gwybodaeth hwy eu hunain am fywyd a chymmeriad Ioan. Nid corsen yn cael ei siglo gan ammheuon oedd Ioan, ond un o ddewrion y ffydd, ac un o'r rhai enwocaf o blant gwragedd. (Mat. xi. 7—11.) Gwel *Dr. W. Smith's Dict. of the Bible, Article,*—"*John the Baptist.*"

II. EI WEINIDOGAETH.

1. *Ei Ddwyfol appwyntiad i'w swydd.*
"Yr oedd gwr wedi ei anfon oddiwrth Dduw, a'i enw Ioan." (Ioan i. 6. 33. Mat. iii. 3. Marc i. 2. Luc iii. 2. vii. 30.)

2. *Ei waith.*
Gellir crynhoi hwn o dan y geiriau *pregethu* a *bedyddio.*

(1,) Pregethu.

(*a*,) Yr oedd i fyned o flaen Crist, i barotôi ei ffordd ef. (Mat. iii. 2.)

(*b*,) Yr oedd i ddwyn tystiolaeth i fawredd ei berson, Dwyfoldeb ei natur, gwerth ei aberth, ac ëangder ei awdurdod, "fel y credai pawb trwyddo ef." (Ioan i. 7. iii. 27—36. Luc i. 77—79.)

(*c*,) Efe oedd i nodi allan berson y Messiah i'r byd. (Ioan i. 33, 34.)

(2,) Bedyddio.
Yr oedd i fedyddio yr holl rai a gyffesent eu pechodau, fel y gallent trwy fedydd gael eu geni yn arwyddluniol i deyrnas y Messiah. (Mat. iii. 2. 6. Marc i. 4. Luc iii. 3. Act. xix. 4.)
Dyry yr Iesu a'r efengylwyr ddesgrifiad ysblenydd o ddylanwad a llwyddiant gweinidogaeth Ioan. (Mat. iii. 5, 6. xi. 10—14. xiv. 5. Marc i. 5. Luc iii. 15. vii. 29. xvi. 16.)
Cawn Dr. Halley yn dysgu mai *i edifeirwch* y bedyddiai Ioan, ac *nid ar ol* edifeirwch, nac *o herwydd* edifeirwch, fel pe buasid wedi cael sicrwydd blaenorol am dano, ond *iddo*, fel dyben i'w gyrhaeddyd (*Lecture* viii.);—fel pe buasai y fath beth yn bossibl (fel y sylwa Dr. Hovey, "*Manual of Theology*," p. 332.) a chael gan yr anedifeiriol ymrwymo i edifarhau, ac mai ufydd-dod yn y *dyfodol* a geisia Duw, ac nid yn y *presennol!!* Yr oedd y rhai a fedyddid i edifeirwch gan Ioan, wedi dechreu edifarhau yn flaenorol, ac ymrwyment yn eu bedydd i ddilyn bywyd addas i edifeirwch yn ol llaw, fel yr oedd y rhai a fedyddid i Grist wedi ymgymmodi â threfn Duw i achub yn flaenorol i'w bedydd, yn ogystal ag yn ymrwymo i gydffurfio â hi yn y dyfodol.

III. YR ORUCHWYLIAETH I'R HON Y PERTHYNAI.

Perthynai i'r Oruchwyliaeth Newydd; ond i gyssoni gwrth-ddywediadau ymddangosiadol, mae yn ofynol cofio *fod yr Oruchwyliaeth Newydd wedi dechreu cyn i'r Hen Oruchwyliaeth ddarfod, yn debyg fel y dechreua y dydd cyn i'r nos lwyr gilio ymaith.* Yr oedd y ddwy am

dymhor yn cydredeg a chydfodoli. Mae dau beth yn dangos nad oedd yr Hen Oruchwyliaeth wedi cael ei dileu yn ystod gweinidogaeth Ioan Fedyddiwr:—

1. *Darfu i'r Arglwydd Iesu gydnabod ei bod mewn grym.*

"Dos, dangos dy hun i'r offeiriad, ac offryma y rhodd a orchymynodd Moses, er tystiolaeth iddynt." (Mat. viii. 4. Marc i. 44.) Gwel hefyd Mat. xxvi. 17—19, &c.

2. *Trwy farwolaeth Crist y llwyr ddiddymwyd yr Hen Gyfammod, ac y llwyr sefydlwyd yr Oruchwyliaeth Gristionogol.*

(Mat. xxvi. 28. xxvii. 51. Heb. ix. 8. 26. x. 19, 20.)

O'r ochr arall, mae'n amlwg fod yr Oruchwyliaeth Gristionogol wedi dechreu gyda gweinidogaeth Ioan:—

1. *Desgrifir ei weinidogaeth fel dechreuad goruchwyliaeth yr efengyl.* (Luc xvi. 16. Mat. xi. 12, 13. Marc i. 1. Act. i. 22. x. 37.)

Nid yw Cristionogaeth gyflawn y Testament Newydd ei hun ond dadblygiad a pherffeithiad o'r hyn ag oedd gweinidogaeth a bedydd Ioan yn rhan ac yn ddechreuad. Yr oedd gweinidogaeth Ioan yn cynnwys ynddi ei hun hanfodion neillduol y grefydd Gristionogol, megys athrawiaeth y Drindod a gwaith yr Ysbryd (Mat. iii. 9. 11. Ioan i. 33, 34.), athrawiaeth yr Iawn (Ioan i. 29.), edifeirwch, ffydd, a bedydd (Mat. iii. 2. Ioan i. 7. Act. xix. 4. Luc iii. 3.), diddymiad y cyfammod cenedlaethol, a sefydliad crefydd bersonol (Mat. iii. 9, 10.), santeiddrwydd ymarferol (Mat. iii. 8.), gogoneddiad yr Iesu a llwyddiant ei waith (Ioan i. 15. 27. iii. 30. Luc iii. 6.), a dedwyddwch y duwiol, a thrueni tragywyddol yr annuwiol. (Mat. iii. 7. 12.)

2. *Cyfeiria Ioan ei wrandawyr at Grist, ac nid at Moses, fel Malachi.* (Ioan i. 29. 36. Mal. iv. 4.)

3. *Yr oedd ei fedydd yr un peth yn sylweddol a'r bedydd a weinyddai yr apostolion.*

(1,) Yr un gair a ddefnyddir am y weithred (sef *baptizo*), a'r un cymhwysderau a ofynid yn yr ymgeiswyr (sef *ffydd* ac *edifeirwch,*) yn y ddau amgylchiad. (Marc i. 4. Act. ii. 38. xix. 4.)

Yr oedd Ioan yn bedyddio y rhai a "gyffesent eu pechodau," (Mat. iii. 6.) y rhai, o ganlyniad, oeddynt wedi cael eu "troi at yr Arglwydd," ac yn "bobl barod i'r Arglwydd." (Luc i. 17. 77.)

(2,) Yr oedd Ioan a Christ yn bedyddio yr un pryd. Nid oedd Crist yn bedyddio neb ond y rhai oedd wedi cael eu gwneyd yn

ddysgyblion yn gyntaf (Ioan iv. i.); ac mae yn afresymol i feddwl fod Ioan a Christ—y rhagredegydd a'r Brenin—yn gwrthddweyd eu gilydd ar yr un adeg, yn nghylch yr un pwnc.

(3,) Ni sonir am ail-fedyddio dysgyblion Ioan ar eu gwaith yn canlyn Crist.

Mae'n debygol fod yr apostolion oll wedi cael eu bedyddio gan Ioan, fel y mae yn sicr fod rhai o honynt (Ioan i. 35—49.), ac efe hefyd a fedyddiodd yr Arglwydd Iesu ei hun. (Mat. iii. 13—17.)

(4,) Pryd nad oes cyfeiriad at fedydd Ioan, fe sonir am deyrnas nefoedd megys eisioes wedi ei sefydlu, ac o natur wahanol i'r Ddwyf-lywodraeth Iuddewig, a hyny cyn marwolaeth Crist. (Mat. xii. 12. xxiii. 13. Luc xvi. 16.)

Cyhudda yr Iesu y Phariseaid a'r ysgrifenyddion o beidio myned i mewn i deyrnas nefoedd, ac o rwystro ereill i fyned i mewn iddi; a dywed fod y bobl gyffredin yn ymwthio i mewn iddi. Fe welir ar unwaith nad oedd modd ymwthio i beth, neu attal ereill i fyned i beth, ag nad oedd mewn bodolaeth; ac mae yr un mor amlwg fod teyrnas nefoedd yn wahanol i wladwriaeth Israel, neu fe fuasai gwrandawyr yr Iesu eisioes i mewn.

Dylid cofio, modd bynag, nad oedd gweinidogaeth Ioan ond "*dechreu* efengyl Iesu Grist," (Marc i. 1.) ac felly na nodweddid hi gan yr un goleuni, yn mhob ystyr, a gweinidogaeth yr apostolion. (Act. xviii. 25, 26.)*

GWRTHDDADLEUON YN ERBYN Y GOLYGIADAU UCHOD AM IOAN A'I WEINIDOGAETH.

Dygir tair o wrthddadleuon yn erbyn y syniadau blaenorol o barthed bedydd a gweinidogaeth Ioan, ar ba rai ni a wnawn ychydig o nodiadau.

1. *Gwrthddadl oddiwrth Hanes y deuddeg dysgybl yn Ephesus:* Act. xix. 1—6.

* Dynoda y geiriad "teyrnas Dduw" *gylch teyrnasiad Duw*, neu y *drefn hono ar bethau*, yn mha un y mae ei *Ewyllys Ef*, yn neillduol ei fwriadau achubol yn cael eu cyflawni, a'r cyflawniad o honynt yn amlwg i ddynion. Mor bell ag mae amcanion achubol Duw wedi cael eu sylweddoli yn barod yn a thrwy Grist, dywedir "teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae," (Luc xvii. 21.) "daeth teyrnas Dduw atoch;" (Mat. xii. 28; Luc xi. 20.) ond mor bell ag mai ar ol i waith Crist gael ei orphen, y daw y sylweddoliad hwn gyntaf yn eglur, sonir am deyrnas Dduw fel i gael ei dadguddio eto yn y dyfodol." (Mat. xvi. 26. Marc ix. 1. Luc ix. 27. xix. 11. xxii. 16. 18. 30.)—*Cremer's Biblico—Theological Lexicon of New Testament Greek:* BASILEIA.

Barna y rhan fwyaf o Esbonwyr fod Paul wedi ail-fedyddio y rhai hyn, a chasglant oddiwrth hyny nad oedd bedydd Ioan yn fedydd Cristionogol. Felly Whitby, Doddridge, Alford, Conybeare a Howson, Dr. Jacobson yn y "*Speaker's Commentary*," Dr. Plumptre yn Ellicott's "*Commentary for English Readers*," Meyer, &c. Dywed Meyer, er fod y deuddeg hyn wedi cael eu hail-fedyddio, nad ydym i gasglu oddiwrth hyny fod holl ddysgyblion Ioan wedi cael eu hail-fedyddio wrth fyned drosodd oddiwrth Ioan at Grist, neu oddiwrth ddysgeidiaeth Ioan at ddysgeidiaeth eglurach yr eglwys apostolaidd. Barnai Dr. Ripley, Dr. Hackett, a Dr. Hovey, Bedyddwyr Americanaidd, ac ysgolheigion Beiblaidd o'r radd flaenaf, fod y deuddeg hyn wedi cael eu hail-fedyddio, *nid am nad oedd bedydd Ioan yn fedydd efengylaidd*, ond am fod y deuddeg hyn wedi cael eu bedyddio pan mewn cyflwr hollol dywyll am hanfodion trefn achub, a bod eu hanwybodaeth yn gwneyd eu bedydd yn hollol ddiwerth a diystyr. Ystyriant hwy yr amgylchiad yn un hollol ar ei ben ei hun, ac nad ydym i dynu casgliadau cyffredinol oddi wrtho.

Yr oedd Beza, Poole, Cymmanfa Dduwinyddol Westminster, a rhai ereill yn mhlith Mabanfedyddwyr, a Dr. Gill, Du Veil, a'r diweddar Barch. John Evans, yn mhlith y Bedyddwyr, yn credu na chawsent eu hail-fedyddio gan Paul. Ymddengys i'r awdwr mai y golygiad diweddaf yw yr unig un boddhaol, ar y cyfan, a'r un ag sydd yn cael ei amgylchu â lleiaf o anhawsderau.

Ymddengys fod yr hanes rhywbeth fel y canlyn. O bossibl mai dyeithriaid oedd y deuddeg hyn, fel y tybia Hackett a Meyer, newydd ddyfod i Ephesus, o Alexandria, fe ddichon, yr un modd ag Apolos. Mae'n debygol hefyd mai Iuddewon oeddynt, gan eu bod wedi cael eu bedyddio i fedydd Ioan. Mae'n bossibl i Paul eu canfod gyda'u gilydd, cyn iddynt hwy gyfarfod â'r eglwys yn Ephesus; neu eu gweled yn nghyfarfodydd yr eglwys, o bossibl yn dilyn eu gilydd, fel y mae yn naturiol i rai o'r un lle wneyd mewn lle dyeithr. Mae'n eglur, beth bynag, eu bod yn amddifad o'r doniau a feddai y dysgyblion yn gyffredin yn yr oes hòno; neu o'r heddwch a'r llawenydd ysbrydol a fwynhai y saint ereill, fel ag i dynu sylw yr apostol. Yr oeddynt mewn cyflwr cyffelyb i'r dysgyblion yn Samaria, wedi credu a chael eu bedyddio, ond heb dderbyn yr Ysbryd Glân yn ei ddoniau gwyrthiol ac anarferol. (Act. viii. 14, 15.) Wrth sylwi ar eu musgrellni, ammheuodd Paul yr achos, a gofynodd os oeddynt wedi derbyn yr Ysbryd Glân pan gredasent? Atebent, na wyddent hwy pa un a oedd yr Ysbryd Glân eto wedi ei roddi ai peidio. [Nid "pa un a oes Ysbryd Glân," ond pa un a ydyw yr Ysbryd Glân yn bresennol yn gweithredu yn y byd fel yr addawsai Ioan. (Mat. iii. 11.) Mae y cystrawiad yr un peth ag yn Ioan vii. 39.: "Canys eto nid

oedd yr Ysbryd Glân *wedi ei roddi*."] Mae eu hanwybodaeth am dywalltiad yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost, a'r gwyrthiau rhyfeddol a gyflawnid trwy ei nerth ef, yn peri i Paul ymholi yn mhellach yn nghylch eu dychweliad a'u bedydd: "*I ba beth gan hyny y bedyddiwyd chwi?*" Dichon eu bod wedi dyfod o wlad bell, ac wedi cael eu bedyddio gan Ioan ei hun, neu gan un o'i ddysgyblion, pan oeddynt ar ymweliad â Judea lawer o flynyddau cyn hyn; ac yna iddynt ddychwelyd i'w gwlad, a pharhau yn anwybodus am hanes Cristionogaeth fel y cawn ef yn nechreu llyfr yr Actau. Wedi iddynt ateb, "*I fedydd Ioan*," â Paul yn mlaen i ddadgan ei gymmeradwyaeth o fedydd Ioan, ac i ddangos nad oedd un diffyg yn eu bedydd: "*Ioan yn ddiau a fedyddiodd â bedydd edifeirwch, gan ddywedyd wrth y bobl am gredu yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef, sef yn Nghrist Iesu. A phan glywsant hwy hyn* (gan Ioan) *hwy a fedyddiwyd yn enw yr Arglwydd Iesu. Ac wedi i Paul ddodi ei ddwylaw arnynt, yr Ysbryd Glân a ddaeth arnynt*," &c. (adn. 4, 5.)

Dywed Dr. H. R. Reynolds, yn ei "*John the Baptist*," (*Congregational Lecture for* 1874,) tudal. 457, mai ychwanegiad o eiddo Paul, *neu o eiddo awdwr Llyfr yr Actau*, yw y geiriau "sef yn Nghrist Iesu," adn. 4. Os gall y geiriau hyn fod yn eiddo Paul, fel ei eglurhad ef ar weinidogaeth Ioan, gall adnod 5 fod yn *barhad* o'i eglurhad, o bossibl i rai, neu i'r oll, o'r frawdoliaeth yn Ephesus, y rhai a ddichon fod yn bresennol yn gwrando ar yr ymddyddan; *neu fel eglurhad Luc i'r darllenydd fod y deuddeg wedi cael eu bedyddio yn rheolaidd, yr hyn a ddesgrifia efe yn ieithwedd yr oes apostolaidd,*—"*hwy a fedyddiwyd i enw yr Arglwydd Iesu.*"*

Fe welir fod Ioan yn dysgu y bobl i gredu yn yr Arglwydd Iesu, ac yna yr oedd yn eu bedyddio ar gyffes o'u hedifeirwch am bechod, ac ar broffes o'u ffydd yn y Messiah ag oedd ar wneyd ei ymddangosiad, *i enw* (Groeg) yr Arglwydd Iesu,—hyny yw, i ymlyniad wrtho, ffyddlondeb iddo, ac ymgyssegriad i'w waith.

Addefwn fod anhawsderau yn nglyn â deall ac esbonio y geiriau

---

* Cawn engraifft gyffelyb yn Act. i. 18, 19. o eglurhad yr hanesydd ysbrydoledig i'r darllenydd yn nghanol annerchiad Pedr, yn ol barn Paley, Doddridge, Bengel, Bloomfield, Hackett, Meyer, Webster & Wilkinson, &c., a dodir y ddwy adnod rhwng cromfachau yn y "Cyfieithiad Diwygiedig Seisnig" (1881), ac yn y Testyn Diwygiedig Groeg, ar yr hwn y sylfeinid y cyfryw Gyfieithiad. Sylwa Dr. Paley fod y geiriad "yn *eu* tafodiaith briodol *hwy*," (Act. i. 19.) yn awgrymu yn mhellach mai *Cenedlddyn* oedd ysgrifenydd Llyfr yr Actau, yr hyn, mewn modd anuniongyrchol, sydd yn cadarnhau traddodiad yr eglwys gyntefig, mai Luc oedd awdwr Actau yr Apostolion.—Dr. Paley's *Horæ Paulinæ;* Epistle to the Colossians: No. III.

hyn, ond credwn fod llai o anhawsderau yn nglyn â'r golygiad uchod nag â'r un arall.

Mae y geiriau yn dalfyrol a byr-ieithog *(condensed and elliptical).*

Maent yn fath e dalfyriad o hanes yr amgylchiad, ac yn cynnwys colliaith, yn debyg i'r hyn a ganlyn:—

[*Ac wedi i Paul ganfod eu bod yn ddiffygiol mewn doniau ysbrydol,*] "Efe a ddywedodd wrthynt, A dderbyniasoch chwi yr Ysbryd Glân pan gredasoch? (Groeg, *pisteusantes.*) Ac wedi clywed hyn [(1) *gan Ioan,* neu (2) *gan Paul*], hwy a fedyddiwyd [(1) *gan Ioan,* neu (2) *gan Paul,*] i enw yr Arglwydd Iesu." (adn. 2. 5.)

Fe welir fod yn yr ail adnod dalfyriad o'r hanes, a bod rhyw linnell yn ddealladwy megys y geiriau rhwng cromfachau uchod; mae yr un mor eglur fod "gan Ioan," neu "gan Paul," yn ddealladwy ar ol y gair "clywed," (cymharer Ioan i. 40. viii. 26. Act. ix. 13, &c.) a'r un modd ar ol y geiriad "a fedyddiwyd." (cymharer Mat. iii. 6. 13, 14. Marc i. 9. Luc vii. 30, &c.)

Y pwnc yw, pa un ai "gan Ioan," ynte "gan Paul," sydd yn ddealladwy yn yr adnod; credwn mai "gan Ioan," sydd i'w ddeall, fel yr esbonia Du Veil y geiriau, a hyny o herwydd y rhesymau canlynol:—

1. Mae ail-fedyddio yn beth dyeithr i'r Testament Newydd.

Yn yr holl hanes apostolaidd, nid oes genym un awgrym am y fath beth. Profasom eisioes fod bedydd Ioan a'r bedydd a weinyddai Crist a'i apostolion yr un o ran ei sylwedd a'i ddybenion, ac nis gellir dysgu dim yn amgen oddiwrth yr hanes hwn.

2. Y peth penaf o dan ystyriaeth yr apostol oedd, rhoddiad yr Ysbryd Glân i'r dysgyblion hyn, ac nid eu bedydd.

Gan fod yr Ysbryd Glân yn gyffredin yn cael ei roddi yn fuan ar ol bedydd, mae Paul yn holi am fedydd y rhai hyn er mwyn cael goleuni ar brif bwynt ei ymofyniad. Wedi cael atebiad, â'r apostol yn mlaen i ddadblygu amcan moesol bedydd Ioan, ac i ddangos nad oedd dim o'i le yn eu bedydd: ac yna doda ei ddwylaw arnynt, a gweddia drostynt, fel y derbynient yr Ysbryd Glân.

3. Mae dygwyddiad y gair "Paul" yn adnod 6, yn awgrymu nad efe a fedyddiodd y deuddeg dysgyblion.

Pe buasai Paul wedi bedyddio y rhai hyn, buasai yn naturiol, yn ol cystrawiad iaith, i ni edrych am y gair "Paul" yn adnod 5, a'r rhagenw "efe," neu "iddo," yn adnod 6, fel hyn:—

"A phan glywsant hwy *hyn*, hwy a fedyddiwyd '*gan Paul*' i enw yr Arglwydd Iesu. Ac wedi '*iddo*' ddodi ei ddwylaw arnynt, yr Ysbryd Glân a ddaeth arnynt, a hwy a draethasant â thafodau, ac a brophwydasant."

Nis gallwn wneyd yn well na therfynu yr adran hon trwy ddyfynu rhanau o Esboniad Poole, ac o Esboniad Cymmanfa Dduwinyddol Westminster, Llundain, ar adnod 5 :—

"Gallasai y deuddeg dysgybl (ebe Poole,) fod wedi cael eu bedyddio gan Ioan, a derbyn yr Ysbryd Glân yn awr yn y doniau annghyffredin hyny trwy osodiad dwylaw Paul; oblegyd i ba ddyben y dylasai y dysgyblion hyn, y rhai oeddynt wedi eu bedyddio â bedydd Ioan, gael eu bedyddio eto gan Paul? Mae'n wir fod dadguddiadau helaethach o ddirgelwch yr efengyl wedi cael eu dwyn iddynt; ond os yw dynion i gael eu bedyddio am bob gradd o wybodaeth neu ras a ennillant, pa sawl bedydd y rhaid iddynt hwy gael, y rhai a ddylent gynnyddu yn feunyddiol mewn gras a gwybodaeth? Y mae yn amlwg na fedyddiwyd yr apostolion ond yn unig â bedydd Ioan, oblegyd nid oedd neb arall i'w bedyddio hwynt. A chan fod bedydd yn ordinhad ein hailenedigaeth neu ein genedigaeth newydd, ac yn gymmaint ag nas gallwn gael ein geni ond unwaith yn y cnawd, felly hefyd nis gallwn gael ein geni ond unwaith yn yr Ysbryd; ac nis gellir bedyddio Cristionogion ddwywaith yn fwy nag y gellid enwaedu Iuddewon ddwywaith."

["*A phan glywsant hwy hyn.*"] Hyny yw, (ebe'r *Assembly's Annotations on the Old and New Testament.* London, 1657,) pan glywsant athrawiaeth Ioan, hwy a fedyddiwyd gan rai o ddysgyblion Ioan......Nid fod Paul wedi eu hail fedyddio hwynt; oblegyd pe felly byddai yn canlyn na fyddai Crist, yr hwn a fedyddiwyd gan Ioan, a ninnau wedi cael ein bedyddio â'r un bedydd; tra y darfu iddo ef fyned trwy yr un enwaediad a'r Iuddewon, a'r un bedydd a ni y Cenedloedd, fel y gallai gyhoeddi ei hun yn Waredwr iddynt hwy a ninnau. Fel y mae y geiriau hyn (*pan glywsant hyn*) yn cyfeirio nid at eiriau Paul, ond at eu gwaith hwy yn clywed am athrawiaeth Ioan; ac oblegyd hyny ni ddywedir fod Paul wedi eu bedyddio, ond dodi ei ddwylaw arnynt. Bedydd sydd enedigaeth newydd yr holl ddyn; fel nas gallwn gael ein geni ond unwaith yn y cnawd, felly nis gallwn gael ein geni ond unwaith yn yr Ysbryd. Felly gan nad oedd ond un enwaediad, ni ddylai ychwaith fod ond un bedydd."

2. *Gwrthddadl oddiwrth y Commisiwn.*

Dywedir mai gan Grist y sefydlwyd y bedydd Cristionogol, a hyny ar ol ei adgyfodiad; ac, o ganlyniad, nas gallasai bedydd Ioan fod yr un peth a bedydd yr efengyl. Mae yr wrthddadl hon wedi cael ei sylfaenu ar gamgymmeriad. Nid ar ol adgyfodiad Crist y *sefydlwyd* y bedydd Cristionogol; yr oedd wedi ei sefydlu o'r blaen, ond ar ol ei adgyfodiad ef y gorchymynwyd bedyddio dysgyblion yn mhlith yr holl Genedloedd, a gweinyddu bedydd hyd ddiwedd y byd.

Gorchymynir pregethu a gwneyd dysgyblion yn y commisiwn; ond nid dyna y pryd y sefydlwyd yr ordinhad o bregethu, ac y dechreuwyd gwneyd dysgyblion. Yr oedd yr apostolion wedi eu hethol a'u hawdurdodi o'r blaen; ond yn y commisiwn y mae eu hawdurdod flaenorol yn cael ei chadarnhau, cylch eu llafur yn cael ei ëangu, a dyben bedydd yn cael ei egluro yn helaethach; ond dyna'r cyfan. (Mat. iv. 18—22. x. 1—15. Marc iii. 14, 15. Luc ix. 1, 2. Ioan iv. 1, 2.)

Mae yr haeriad nad oedd bedydd Ioan yn fedydd efengylaidd, yn arwain i amryw anhawsderau. Os felly, defod Iuddewig oedd bedyddiad yr Iesu, Brenin teyrnas nefoedd; ac ordinhad Iuddewig yw swper yr Arglwydd! Ond er fod yr Arglwydd Iesu yn sefydlu ei swper santaidd cyn marw o hono, eto, sonia am weinyddiad yr ordinhad fel peth ag oedd i gymmeryd lle yn fynych ar ol ei farwolaeth, ac i gofio am dani. (Luc xxii. 19.) Nid oedd Paul yn ystyried swper yr Arglwydd yn ordinhad Iuddewig, ar sail y ffaith ei bod wedi cael ei sefydlu "y nos y bradychwyd" y Ceidwad, ond sonia am dani fel un sydd i fod mewn grym o dan yr efengyl hyd ddiwedd y byd, megys ag y sonia am yr ordinhad o fedydd. (1 Cor. xi. 23—27.)

3. *Gwrthddadl oddiwrth Eiriau yr Iesu yn cyhoeddi fod "Y lleiaf yn nheyrnas nefoedd yn fwy" na Ioan.* (Mat. xi. 11.)

"Yn wir meddaf i chwi, Yn mhlith plant gwragedd, ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr; er hyny, yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas nefoedd sydd fwy nag ef."

Dodwn yma gyfieithiad mwy llythyrenol o'r geiriau:—

"OND EFE YR HWN SYDD LAI [ὁ μικρότερος, *comparative degree*,] YN NHEYRNAS NEFOEDD SYDD FWY NAG EF."

Felly y *Vulgate*, yr hwn a gymmeradwya Dr. John Lightfoot yn fawr yn hyn.

Bernir yn gyffredin mai yr ystyr yw, fod yr aelod mwyaf distadl yn yr eglwys Gristionogol ar ol marwolaeth, adgyfodiad, ac esgyniad Crist, yn fwy na Ioan Fedyddiwr, am y gallai hwn dystiolaethu fod trefn achub wedi ei gorphen, a'r Iesu wedi ei ogoneddu, yr hyn na allai Ioan!

Ystyriai Dr. Ripley mai y dysgawdwr crefyddol lleiaf—y prophwyd lleiaf—yn nheyrnas nefoedd a olygir, sydd yn fwy na Ioan, am fod ganddo fanteision annhraethol uwch na'r rhai a feddai Ioan. Yn gyffelyb y dywed y diweddar Barch. R. Ellis, *(Cynddelw,)* ond mai un o'r prophwydi neu genadon *ysbrydoledig* o dan yr efengyl, a olygir wrth "y lleiaf."

Tybiwn ni, modd bynag, gyda Chrysostom, Luther, a'r diweddar Barch. John Evans, ac amryw ereill, mai yr Iesu ei hun a olygir wrth "yr hwn sydd lai yn nheyrnas nefoedd;" a chredwn mai *ieuengach*, neu *lai mewn amser*, a olygir. Defnyddir yr ansoddeiriau *bychan* a *mawr*, *llai* a *mwy*, amryw weithiau yn y Testament Newydd am wahanol raddau oedran. (Marc xv. 40. Act. viii. 10. xxvi. 22. Rhuf. ix. 2.) Rhoddwn yma dalfyriad o nodiadau grymus y Parch. John Evans ar y geiriau:—

"Sylwer yn mhellach fod yr ymadrodd yn yr amser presennol. Nid son yr oedd Ioan am beth ag oedd heb gymmeryd lle, ond am beth ag oedd yn bodoli ar y pryd. Nid, bydd y lleiaf yn nheyrnas nefoedd wedi iddi ddyfod i'w grym, yn fwy na Ioan Fedyddiwr, a ddywedir; ond yr hwn *sydd lai* yn nheyrnas nefoedd *sydd fwy* nag ef." Yn mhlith plant gwragedd, nid oedd neb *mwy* nag Ioan Fedyddiwr, wedi cyfodi o ddechreuad y byd; er hyny yr oedd *rhyw un*, llai yn nheyrnas nefoedd, yn *fwy* nag ef. Dywedir gan rai mai y lleiaf o'r apostolion wedi i'r deyrnas ddyfod i'w grym, a feddylir, 'oblegyd y gallasai y *lleiaf* o honynt, wedi derbyn yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost, ddywedyd am farw ac adgyfodiad yr Iesu, &c, yr hyn ni allasai Ioan.' Ond nid oes yma un gair o son am yr apostolion, nac am dderbyn yr Ysbryd, nac am ddyfodiad y deyrnas i'w grym, yn y mesur lleiaf. Mae yr ymadrodd yn yr amser presennol. 'Yr hwn *sydd lai* yn nheyrnas nefoedd, *sydd* fwy nag ef.' Mae ereill a ddywedant 'fod y lleiaf o holl ddeiliaid teyrnas nefoedd, hyny yw, teyrnas yr efengyl, yn fwy nag Ioan,' gan dynu y casgliad nad oedd Ioan ei hun yn y deyrnas. Ac os yn fwy nag Ioan Fedyddiwr, rhaid ei fod yn fwy nag Elias, yn fwy na Moses, yn fwy nag Aaron, ac yn fwy nag Abraham, ïe, yn fwy na'r *holl* brophwydi a fuont o flaen Ioan; oblegyd 'yn mhlith y rhai a aned o wragedd ni chyfododd prophwyd mwy nag Ioan Fedyddiwr;' er hyny mae yr aelod mwyaf llesg mewn eglwys Cristionogol yn fwy nag ef." [Mae hyn fel pe dywedasid fod gweithiwr anllythyrenog ac anniwylliedig yn deall deddfau y greadigaeth yn well na Syr Isaac Newton, yn unig am ei fod wedi gweled y gerbydres ar y ffordd haiarn, yr hyn na allasai Newton!—syniad ag mae ei adrodd yn unig yn ddigon i ddangos ei wrthuni!]

"Yr oedd Ioan yn fwy na phawb a fuasai o'i flaen ef; ond yr oedd Crist yn fwy nag Ioan. Ni ddywedir, 'Yr hwn sydd *lai poblogaidd* nag Ioan; ac ni ddywedir, yr hwn sydd *lai yn marn y bobl* nag Ioan; ac ni ddywedir ychwaith, yr hwn sydd *lai nag* Ioan sydd fwy nag ef. Nid oedd Iesu yn llai poblogaidd nag Ioan; oblegyd yr oedd yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy o ddysgyblion nag Ioan, a phawb yn dyfod ato ef. (Ioan iii. 26. iv. 1.) Nid oedd yn llai yn marn y bobl nag Ioan (Ioan x. 40, 41.) Buasai dywedyd, 'Yr hwn sydd lai *nag Ioan* sydd fwy nag ef,' yn wrthddywediad hollol, oblegyd y mae yn annichonadwy i'r un person fod yn *llai* ac yn *fwy* na pherson arall yn yr un ystyr; ond 'yr hwn *sydd lai yn nheyrnas nefoedd*' ddywedir, 'sydd fwy nag ef.'

"Yn mha ystyr, gan hyny, yr oedd Crist yn nheyrnas nefoedd yn

llai nag Ioan? Yn hyn y mae yr holl ddirgelwch. Yr oedd Ioan wedi bod tua chwe' mis yn pregethu teyrnas nefoedd, cyn i'r Iesu gael ei fedyddio, na chael ei gymmeradwyo yn gyhoeddus gan y llef o'r nef, ac ymddangosiad gweledig yr Ysbryd Glân. Ac ar ol hyny y dechreuodd yr Iesu bregethu efengyl y deyrnas. Ac yn yr *ystyr* hyn, ac yn *ogymmaint* a hyn, yr oedd Iesu yn *llai yn nheyrnas nefoedd* nag Ioan; er hyny, mewn *natur* a *swydd*, yr oedd yn fwy nag ef." (*Athrawiaeth Bedydd*, *tud.* 167—169., *gan John Evans*, *Bangor*. 1841.)

Yn unol â hyn, dywed Ioan fod Crist "yn dyfod ar ei ol ef." (Ioan i. 15. 27. 30.) Mae y ddau, Ioan a Christ, yn y deyrnas, a'r ddau yn enwog; Ioan yn enwocach na neb fuasai o'i flaen er dechreuad y byd; ond y mae yr un a ddaethai i'r deyrnas ar ei ol ef, yn fwy mewn natur, urddas, teilyngdod, ac awdurdod, fel nad ystyriai Ioan ei hun yn deilwng i ddatod carai ei esgid ef! (Ioan i. 27.)

---

# PENNOD II.

## MAI CREDINWYR YN UNIG YW DEILIAID BEDYDD.

---

*Hanes Bedyddiadau y Testament Newydd—Purdeb a Dilysrwydd Act.* viii. 37—*Deddf y Commisiwn—Cystrawen Mat.* xxviii. 19—*Purdeb a Dilysrwydd Marc* xvi. 9—20—*Cyfeiriadau achlysurol at Fedydd yn y Testament Newydd—Ystyriaethau Cyd-gadarnhaol mai Credinwyr yw gwir Ddeiliaid Bedydd.*

Ymddengys yn wastad i'r awdwr fod dysgeidiaeth y Testament Newydd mor eglur ar Ddeiliaid Bedydd, fel ag y gall y gwanaf ei amgyffredion, a'r isaf ei gyrhaeddiadau, ei deall yn gywir gyda y rhwyddineb mwyaf. Mae y pwnc o Ddull Bedydd—a hyny, yn benaf, o herwydd gwrthddadleuon dysgedigion, a chamesboniadau esbonwyr—yn anhawddach, gan ei fod yn ymwneyd âg ystyr gair estronol, yr hwn, yn ol ein gwrthwynebwyr, a all olygu unrhyw beth, neu bob peth o'r bron. Mae llawer o waith symmud ymaith y llwch oddiar y gair am fedyddio, er ei ddangos yn ei liw priodol, a mynu chwareu teg iddo lefaru drosto ei hun; tra mae y pwnc o Ddeiliaid Bedydd yn syml ac eglur i bob un sydd yn meddu dirnadaeth gywir am natur gwasanaeth Duw, ac ysbrydolrwydd teyrnas Crist. Ni fydd ein nodiadau ar Ddeiliaid Bedydd, gan hyny, ond byrion o'u cymharu â'r hyn a ddywedwyd ar Ddull Bedydd.

Mae amryw resymau yn profi gwirionedd ein gosodiad—*mai credinwyr yn unig yw Deiliaid Bedydd.*

### I. HANES BEDYDDIADAU YN Y TESTAMENT NEWYDD.

1. *Bedyddiadau gan Ioan.*

"A hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau." (Mat. iii. 6.)

"Yr oedd Ioan yn bedyddio yn y diffaethwch, ac yn pregethu bedydd edifeirwch, er maddeuant pechodau." (Marc i. 4, 5. Luc iii. 3.)

"A'r holl bobl a'r oedd yn gwrando, a'r publicanod, a gyfiawnhasant Dduw, wedi eu bedyddio â bedydd Ioan." (Luc vii. 29.)

"Ioan yn ddiau a fedyddiodd â bedydd edifeirwch, gan ddywedyd wrth y bobl am gredu yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef, sef yn Nghrist Iesu." (Act. xix. 4.)

Fe welir oddiwrth yr adnodau hyn, mai rhai yn cyffesu eu pechodau—yn cyfiawnhau Duw a chymmeradwyo ei drefn—yn ymrwymo dwyn ffrwythau addas i edifeirwch—ac yn proffesu cred-iniaeth yn Nghrist Iesu, a fedyddiai Ioan.

2. *Bedyddiad y Gwaredwr.*

"Ond yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho ef, Gad yr awr hon ; canys fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder. Yna efe a adawodd iddo." (Mat. iii. 15—17.)

"A bu, pan oedd yr holl bobl wedi cael eu bedyddio, a'r Iesu wedi cael ei fedyddio hefyd, ac yn gweddio, i'r nef gael ei hagoryd, ac i'r Ysbryd Glân ddisgyn mewn ffurf gorphorol, megys colomen, arno ef; a daeth llef o'r nef, Ti yw fy anwyl Fab; ynot ti y'm boddlonwyd." (Luc iii. 21, 22.)

Cyfeiriwn at fedydd y Gwaredwr am ei fod ef wedi rhoddi esiampl i ni, fel y canlynem ei ol ef (1 Pedr ii. 21.); a diau ei fod wedi rhoddi esiampl i ni yn ei fedydd, yn ogystal ag yn ngweinyddiad ei Swper. (Luc xxii. 19.) Yr oedd yn esiampl i ni yn ei fedydd mewn dau beth yn neillduol:—

1. Yn agwedd ei feddwl ar y pryd.

Yr oedd yn *awyddus* i ufyddhau. Daethai o Galilea at Ioan i Judea er cael ei fedyddio; ac ni adawai i wyleidd-dra Ioan ei attal i anrhydeddu yr ordinhad trwy ymostwng iddi.

Yr oedd yn *gweddio* ar yr adeg. Yr oedd yn sylweddoli yn drwyadl yn ei feddwl pur yr hyn oll ag oedd o'i flaen, a gweddiai am y fath arddeliad ar ei ymrwymiad oll-bwysig ag fyddai yn nerth, yn gefnogaeth, ac yn galondid iddo hyd derfyn ei daith.

2. Yn amseriad ei fedydd.

Cymmerai le ar *ddechreuad* ei fywyd cyhoeddus, fel y mae ein bedydd ninnau i gymmeryd lle ar ddechreuad ein bywyd crefyddol. Ymgyssegrai efe fel hyn i waith ei Dad, ac elai i mewn i deyrnas nefoedd trwy yr un fynedfa ag a ordeiniodd i'w ddysgyblion.

Os ymostyngwn i fedydd yn ysbryd yr Iesu, gallwn ninnau ddysg-wyl, nid i'r nefoedd gael ei hagoryd, mae'n wir, ond i'r Tad wenu yn rasol ar ymostyngiad cariadus canlynwyr ei anwyl Fab ef.

3. *Bedydd gan Ddysgyblion yr Iesu.*

"Pan wybu yr Arglwydd gan hyny glywed o'r Phariseaid fod yr Iesu yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy o ddysgyblion nag Ioan: er na fedyddiasai yr Iesu ei hun, eithr ei ddysgyblion ef." (Ioan iv. 1, 2. iii. 22.)

Cyfeiriwn at y geiriau hyn er dangos mai *dysgyblion* a fedyddiai yr Iesu—rhai wedi eu hennill i fod yn ddysgyblion iddo trwy nerth ei wyrthiau, a goleuni a graslonrwydd ei athrawiaeth. Ni fedyddid neb ond rhai ufydd i'r Athraw mawr.

4. *Bedyddiad Dychweledigion Dydd y Pentecost.*

"Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân."

"Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd," &c. (Act. ii. 37—41.)

Fe welir mai dynion wedi eu dwysbigo yn eu calonau, wedi edifarhau, ac yn derbyn gweinidogaeth Pedr, oedd y rhai hyn. Golyga y gair "plant" yn adnod 39. ddisgynyddion yr Iuddewon, neu eu hiliogaeth, ac nid plant yn yr ystyr o fabanod neu rai o dan oed; a'r "pawb yn mhell" y Cenedloedd, y rhai a ystyrid gynt fel rhai pell a thu allan i derfynau cyfammod Duw â'i bobl. "Yr addewid" y cyfeirir ati, yw yr addewid o'r Ysbryd Glân, yr hon a roddasid trwy y prophwyd Joel; (Act. ii. 16—21. 33.) ond er i'r Ysbryd gael ei dywallt ar esgyniad yr Iesu, (adn. 33.) eto, yr oedd yr Ysbryd yn ngweddill gan Dduw, a gallasai gwrandawyr Pedr hefyd dderbyn o'i gyflawnder, a'u hiliogaeth, a phawb yn mhell, ond iddynt edifarhau, a chymmeryd eu bedyddio.

5. *Bedyddiad y Samariaid.*

"Eithr pan gredasant i Phylip, yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac i enw Iesu Grist, hwy a fedyddiwyd yn wŷr ac yn wragedd." (Act. viii. 12.)

Fe ddywedir yn bendant yma fod y bedyddiedigion hyn wedi credu, a derbyn gair Duw. (adn. 14.) Sylwer hefyd ar ddiwedd yr adnod: "Hwy a fedyddiwyd yn wŷr ac yn wragedd." *Ni sonir am blant.* Mae yn dra thebygol, pe buasai plant yn bresennol, y nodasid hyny, megys ag yn Mat. xiv. 21. xv. 38:—"A'r rhai a fwytasant oeddynt yn nghylch pum' mil o wŷr, heblaw gwragedd a *phlant.*" "A'r rhai a fwytasant oedd bedair mil o wŷr, heblaw gwragedd a *phlant.*"

Nid oes a fyno rhagrith Simon â'r pwnc, gan nad oedd Phylip yn chwiliwr y galon. Proffesai Simon ei fod yn credu, ac ar y broffes hòno y bedyddiwyd ef. (Act. viii. 13.)

6. *Bedyddiad yr Eunuch.*

"Ac fel yr oeddynt yn myned ar hyd y ffordd, hwy a ddaethant at ryw ddwfr. A'r Eunuch a ddywedodd, Wele ddwfr; beth sydd yn lluddias fy medyddio?

"A Phylip a ddywedodd, Os wyt ti yn credu â'th holl galon, fe a ellir. Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Yr wyf yn credu fod Iesu Grist yn Fab Duw.

"Ac efe a orchymynodd sefyll o'r cerbyd: a hwy a aethant i waered ill dau i'r dwfr, Phylip a'r Eunuch; ac efe a'i bedyddiodd ef." (Act. viii. 36—38.)

Yr oedd y boneddwr hwn yn broselyt i'r grefydd Iuddewig, ac wedi dyfod i Jerusalem i addoli. Yr oedd yn awyddus i ddeall yr Ysgrythyrau yn berffeithiach, ac i ddysgu mwy am y Gwaredwr; a phan ddeallodd mai Iesu o Nazareth oedd y Messiah addawedig trwy y prophwydi, efe a gredodd ynddo yn ddioed, ac a'i derbyniodd yn galonog. Deallodd oddiwrth waith Phylip yn pregethu yr Iesu, fod pob dysgybl i Grist i gymmeryd ei fedyddio; a phan ddaeth Phylip ac yntau at ryw ddwfr, amlygodd y boneddwr ei barodrwydd i ufyddhau i'r ordinhad, os ystyriai Phylip ef yn meddu y cymhwysderau anghenrheidiol. Gan fod Phylip yn amlygu ei gydsyniad, fe gymmerodd y bedydd le.

Fe ystyrir adnod 37 gan y beirniaid a'r esbonwyr diweddaraf yn lygriad ar y testyn, ac yn ychwanegiad diawdurdod ato. Tybiant i ryw adysgrifenydd *(copyist)* ysgrifenu ar ymyl y ddalen yr hyn a dybiai a gymmerodd le rhwng Phylip a'r Eunuch, neu yr hyn a arferid ofyn ac ateb ar adeg bedyddio yn ei ddyddiau ef; ac i adysgrifenydd diweddarach gymmeryd y nodiad minddalenol i mewn fel rhan o'r Ysgrythyr ei hun. Fel yna y ceisir cyfrif am fodolaeth yr adnod yn y testyn gan rai, tra y tybia ereill mai cyfaddasiad o Rhuf. x. 9. ydyw. Gadewir hi allan gan John Williams, Alford, Tischendorf, y Doctoriaid Westcott a Hort, a chan Ddiwygwyr y Cyfieithiad Seisnig o'r Testament Newydd (1881); tra y teimlai Dr. Wordsworth fod gormod i'w ddweyd o blaid ei phurdeb, iddo ef feiddio ei chau allan. Ceir yr adnod fel rhan o'r Ysgrythyr yn ysgrifau Irenæus, Esgob Lyons, yr hanner diweddaf o'r ail ganrif, y rhai ydynt ddwy ganrif hynach na'r ysgrif-lyfrau hynaf o'r Testament ag sydd yn awr mewn bod; ac yn ngweithiau Cyprian, (Esgob Carthage, A.D. 250.) ac Awstin. (Esgob Hippo, A.D. 410.)

Pe llygriad fyddai yr adnod, (o'r hyn nid yw yr awdwr yn teimlo yn hollol sicr,) ni effeithiai hyny ddim ar y pwynt dan sylw, ond fe ddangosai fod yr eglwys yn nechreu yr ail ganrif, yr un modd ag yn nyddiau yr apostolion, yn gofyn proffes o ffydd gan ddyn cyn y

gwnelid ei fedyddio. Gwel Hackett, Wordsworth, a'r "*Speaker's Commentary*," ar y lle.

7. *Bedyddiad Paul yn Damascus.*

"Ac efe a gyfododd, ac a fedyddiwyd." (Act. ix. 18.)
"Ac yr awr hon beth yr wyt ti yn ei aros? cyfod, bedyddier di, a golch ymaith dy bechodau, gan alw ar enw yr Arglwydd." (Act. xxii. 16.)

Fe welir oddiwrth yr hanes fod Saul o Tarsus wedi cael ei argyhoeddi mai Iesu Grist oedd y Messiah, ac yn gweddio am ras cyn ac wrth gael ei fedyddio, a'i fod yn derbyn trefn yr efengyl â'i holl galon.

8. *Bedyddiad Cornelius a'i gyfeillion.*

"A all neb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr Ysbryd Glân, fel ninnau?" (Act. x. 47.)

Nid ammheua neb gymhwysder y rhai hyn i gael eu bedyddio, y rhai a gredasent bregeth Pedr, ac a dderbyniasent ddoniau annghyffredin yr Ysbryd Glân.

9. *Bedyddiad Lydia a'i theulu.*

"A rhyw wraig a'i henw Lydia, un yn gwerthu Porphor, o ddinas y Thyatiriaid, yr hon oedd yn addoli Duw, a wrandawodd; yr hon yr agorodd yr Arglwydd ei chalon, i ddal ar y pethau a leferid gan Paul. Ac wedi ei bedyddio hi a'i theulu, &c. Ac wedi myned allan o'r carchar, hwy a aethant i mewn at Lydia: ac wedi gweled y brodyr, hwy a'u cysurasant, ac a ymadawsant." (Act. xvi. 14, 15. 40.)

Ymddengys fod Lydia a'i theulu wedi credu a chael eu bedyddio, ac nid oes rhith o brawf fod babanod o gwbl yn y teulu.

Dichon, fel yr awgryma amryw esbonwyr, mai gwasanaethyddion Lydia, y rhai a'i cynnorthwyent gyda'i galwedigaeth, oedd y rhan fwyaf o'r "teulu" hwn.

1. Gan mai Lydia a enwir, mae'n debyg nad oedd ganddi ŵr ar hyn o bryd, os buasai ganddi un erioed.

2. Gan ei bod 300 milltir o'i chartref, mae yn dra thebygol nad oedd ganddi blant bychain o'i hamgylch, os buasai ganddi blant o gwbl.

3. Gan y dywedir fod ei theulu wedi cael eu bedyddio, mae yn hollol resymol i ni gasglu eu bod hwy wedi cael eu bedyddio ar yr

un ammodau a hithau, oblegyd nid oes derbyn wyneb gyda Duw, nac ordinhad deuluaidd yn perthyn i'w deyrnas ef.

4. Mae yn ymddangos yn hollol deg a naturiol i ystyried y "teulu" yn adnod 15, yn gyfystyr â'r "brodyr" yn nhŷ Lydia, yn adnod 40, ond fod ychwanegiadau wedi cymmeryd lle at y frawdoliaeth er y bedydd cyntaf, ac felly fod "y brodyr" yn cynnwys y dychweledigion ereill yn Phillipi.

10. *Bedyddiad Ceidwad y Carchar.*

"A hwy a draethasant iddo air yr Arglwydd, ac i bawb oedd yn ei dŷ ef. Ac efe a'u cymherth hwy yr awr hòno o'r nos, ac a olchodd eu briwiau; ac efe a fedyddiwyd, a'r eiddo oll, yn y man......Ac a fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu." (Act. xvi. 32—34.)

Mae yr hanes hwn yn hollol gysson â natur pethau :—(1,) pregethu; (2,) credu; (3,) bedyddio; (4,) cariad brawdol; (5,) llawenydd trwy gredu. Nis gellir llethu y geiriau i ddysgu bedydd babanod heb drais arnynt. O barthed cystrawiad y geiriau, gwel tudal. 145, 146.

11. *Bedyddiad y Corinthiaid.*

"A Chrispus yr archsynagogydd a gredodd yn yr Arglwydd, a'i holl dŷ; a llawer o'r Corinthiaid wrth wrando, a gredasant, ac a fedyddiwyd." (Act. xviii. 8.)
"Yr wyf yn diolch i Dduw, na fedyddiais i neb o honoch, ond Crispus a Gaius:
"Fel na ddywedo neb fedyddio o honof fi yn fy enw fy hun.
"Mi a fedyddiais hefyd dylwyth Stephanas." (1 Cor. i. 14—16.)
"Chwi a adwaenoch dŷ Stephanas, mai blaenffrwyth Achaia ydyw, ac iddynt ymosod i weinidogaeth y saint." (1 Cor. xvi. 15.)

Yn Corinth, cawn fod teuluoedd yn credu ac yn cael eu bedyddio. Ymosododd teulu Stephanas i wasanaethu y saint; efe ei hun, o bossibl, ebe Meyer, trwy gymmeryd teithiau, a myned ar negeseuon pwysig, a chyflawni gorchwylion neillduol er eu mwyn; a'i wraig, trwy ofalu am y tlodion a'r cleifion; tra yr oedd pob aelod o'r teulu yn cynnorthwyo eglwys Dduw mewn rhyw ffordd neu gilydd.

Mae ein hymchwiliad i'r engreifftiau o fedydd yn y Testament Newydd, gan hyny, yn dangos yn eglur mai dynion wedi cael eu cyfnewid trwy ras, ac yn proffesu edifeirwch tuag at Dduw, a ffydd tuag at ein Harglwydd Iesu, a fedyddid yn nyddiau Crist a'r apostolion.

## II. DEDDF Y COMMISIWN.

"Ewch gan hyny a dysgwch yr holl Genedloedd ("gwnewch ddysgyblion o'r holl Genedloedd,"—*Revised Version*, 1881,) gan eu

bedyddio hwy yn (Groeg, "*i*," *Revised Version*, "*i*,") enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân," &c. (Mat. xxviii. 19.)

"Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur."

"Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig: eithr y neb ni chredo a gondemnir." (Marc xvi. 15, 16.)

Ceir yma ddysgu, pregethu, a chredu, cyn bedyddio, yn unol â rhediad yr holl Destament Newydd. Yn ol Matthew, y rhai sydd wedi eu dysgu neu eu gwneyd yn ddysgyblion sydd i gael eu bedyddio; yr hyn a olyga, yn ol Marc, y rhai sydd yn credu.

Mae'n debyg fod y rhagenw "hwy" (*autous*) yn Mat. xxviii. 19. yn y geiriad, "gan eu bedyddio hwy," yn cyfeirio at y gair "dysgyblion" (*mathêtas*), dealladwy yn nglyn â'r ferf "gwneyd dysgyblion" (*mathêteuo*), yn hytrach nag at "yr holl Genedloedd" *(panta ta ethnê)*, gan ei fod yn cytuno â dysgyblion yn y rhyw (*masculine gender*), yr hyn na wna â'r gair "Cenedloedd" (ethnê,—*neuter gender*). Yr ystyr felly yw :—"Ewch gan hyny, gwnewch ddysgyblion o'r holl Genedloedd, gan eu bedyddio *hwy* (sef y dysgyblion a wneir o'r Cenedloedd,) i enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân."

Mae cystrawiad y commisiwn yn dangos mai rhai yn cyssegru eu hunain i Dduw a'i wasanaeth, yw gwir ddeiliaid bedydd :—"Ewch a gwnewch ddysgyblion—gan eu bedyddio hwy *i enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân*." Dullwedd Hebreig yw y gair *enw* yn nglyn â Duw, yn gosod allan Dduw ei hun. Gwel Gen. iv. 26. Salm v. 11. ix. 10. xx. 1. xxxiii. 21. Mat. vi. 6., &c. Bedyddio i Dduw, yn Dad, Mab, ac Ysbryd Glân, yw bedyddio i broffes o ffydd ynddo, ufydd-dod iddo, ac ymgyssegriad trylwyr i'w wasanaeth ef. Gellir bedyddio unrhyw beth *yn* enw y Drindod, ond nis gellir *bedyddio i'r* Drindod ond creadur rhesymol, pechadur edifeiriol, yr hwn yn ei fedydd sydd yn gwneyd cyfammod â'i Dduw, i'w anrhydeddu a'i fawrhau am weddill ei oes. Nis gellir gweithio allan gyfraith y commisiwn, gan hyny, ond pan y byddo y bedyddiedig yn gallu sylweddoli pwysigrwydd ei broffes, yr hwn felly a raid fod yn deall ac yn credu yr efengyl. Gwel y Bennod ar *Ddyben Bedydd* yn y gyfrol hon, a Dr. Wayland's "*Principles of the Baptists*," (Bunyan Library, vol. i.) tudal. 65.

Dywedir wrthym, modd bynag, mai ystyr y ferf *dysgu*, neu *wneyd dysgyblion* (Gr. *mathêteuo*) yw *gwneyd dysgyblion drwy eu bedyddio.* Dysgir hyn gan Daenellwyr, er cyfiawnhau eu gwaith yn taenellu babanod; a dysgai Alexander Campbell hyn, er profi ei ddamcaniaeth am rinwedd achubol bedydd. *(Maddeuant Pechodau*, tudal. 24, 25.) Mae'n wir fod engreifftiau i'w cael yn mha rai y mae y rhan-gymmeriad *yn egluro dull cyflawniad y weithred* a grybwylla yn flaenorol, megys Col. iii. 17. iv. 5. 1 Tim. ii. 8. 2 Tim. ii. 15. Heb. xiii. 13.

15.; ond y mae engreifftiau lawer i'w cael hefyd, yn mha rai y mae y *rhan-gymmeriad presennol yn gosod allan weithred ychwanegol, wahanol o ran ei nhatur i'r weithred yn y ferf flaenorol.* Nodwn ychydig engreifftiau :—

Mat. viii. 27. "A'r dynion a ryfeddasant, gan ddywedyd," &c.
xvii. 14. "Daeth ato ryw ddyn, ac a ostyngodd (Gr. *gan ostwng*) ar ei liniau iddo."
xix. 3. "A daeth y Phariseaid ato ef, gan ei demtio," &c.

Weithiau mae dwy neu dair o weithredoedd gwahanol yn cael eu gosod allan trwy y rhan-gymmeriaid dilynol :—

Mat. iv. 23. "A'r Iesu a aeth o amgylch holl Galilea, (1,) gan ddysgu yn eu synagogau, a (2,) phregethu efengyl y deyrnas, a (3,) iachâu pob clefyd a phob afiechyd yn mhlith y bobl."
Marc i. 40. "A daeth ato ef un gwahanglwyfus, (1,) gan ymbil âg ef, a (2,) gostwng ar ei liniau iddo, a (3,) dywedyd wrtho, Os myni," &c.
Eph. v. 18—21. "Llanwer chwi â'r Ysbryd;
(1,) Gan lefaru wrth eich gilydd mewn Salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol; (2,) gan ganu a phyncio yn eich calon i'r Arglwydd;
(3,) Gan ddiolch yn wastad i Dduw a'r Tad am bob peth, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist;
(4,) Gan ymddarostwng i'ch gilydd yn ofn Duw."

Gwel "*Essay on Christian Baptism,*" gan B. W. Noel, M.A., tudal. 19—35. (London, 1849.)

Mae y geiriau yn Mat. xxviii. 19. i'w deall yn debyg i'r engreifftiau diweddaf; y dysgu cyntaf yn golygu pregethu i'r bobl, eu haddysgu yn nhrefn yr iachawdwriaeth, eu dwyn i ddeall ac i dderbyn yr efengyl; yna bedyddio y rhai a gredant, er eu dwyn trwy broffes ac arwyddlun gweledig i mewn i deyrnas nefoedd; ac ar ol hyny dysgu iddynt gadw deddfau tŷ Dduw, ac ymddwyn yn deilwng o'u breintiau a'u proffes hyd ddiwedd eu hoes.

Dygwydda y ferf *mathêteuo*, a gyfieithir "dysgu" yn Mat. xxviii. 19. mewn tri lle arall yn y Testament Newydd, sef yn yr engreifftiau canlynol :—

Mat. xiii. 52. "Pob ysgrifenydd *wedi ei ddysgu* (Gr. *mathêteutheis*) i deyrnas nefoedd," &c.
xxvii. 57. "Daeth gwr goludog o Arimathea, a'i enw Joseph, yr hwn *a fuasai yntau yn ddysgybl* (Gr. *emathêteuse*) i'r Iesu."
Act. xiv. 21. "Ac wedi iddynt bregethu yr efengyl i'r ddinas hòno, ac *ennill* llawer o *ddysgyblion* (Gr. *mathêteusantes*), hwy a ddychwelasant i Lystra."

Defnyddiai y Tadau Eglwysig Groegaidd y ferf dan sylw am *ddysgu*, neu *ddysgyblu trwy hyfforddi*, yn hytrach na *thrwy fedyddio*. "Nid wyf yn awr (ebe Ignatius,) ond megys dechreu *dysgu* (Gr. *mathêteuesthai*), ac yr ydwyf yn siarad â chwi fel cyd-ddysgyblion." "Bydded iddynt hwy (eb efe mewn lle arall,) *gael eu dysgu* (Gr. *mathêteuthênai*) gan eich gweithredoedd da chwi." "Mi a ddymunwn gan hyny (eb efe drachefn,) fod i'r pethau hyny gael eu cadarnhau gan eich ymddygiad, y rhai a osodasoch allan *wrth ddysgu*" (Gr. *mathêteuontes*), &c. "Os ydynt *yn dysgu* (Gr. *mathêteuthentes*) rhywbeth oddiwrth athroniaeth Hebreaidd (ebe Clement o Alexandria), bydded iddynt gydnabod hyny." "Pe buasem bawb yn dinystrio ein hunain (ebe Justin Ferthyr, Apol. II. 4.) achosem, mor bell ag y byddai ynom, na fyddai i neb gael eu geni na'u *dysgu* (Gr. *mathêteuthênai*) yn athrawiaethau Duw," &c. Gwel Dr. Gale's *Reflections on Wall's History of Infant Baptism, Letter* vii., lle y ceir amryw o engreifftiau ereill cyffelyb.

Bydd i ni, ynte, ddeall y commisiwn yn ei ystyr syml a naturiol, yn gofyn addysg a ffydd o flaen bedydd, a'r naill a'r llall mewn trefn i fod yn ddeiliaid rheolaidd yn nheyrnas weledig yr Arglwydd Iesu.

---

## NODIAD YCHWANEGOL

### YN NGHYLCH PURDEB A DILYSRWYDD MARC XVI. 9—20.

Gan y dywedir wrthym weithiau, pan yr appeliwn yn hyderus at dystiolaeth y commisiwn yn ol Marc, mai ychwanegiad diawdurdod at yr efengyl santaidd yw Marc xvi. 9—20. dichon y dylem wneyd sylw ar y pwnc o burdeb a dilysrwydd y rhan hon o'r Ysgrythyr.

Yr anhawsderau i'w derbyn fel rhan o Efengyl Marc ei hun, yw y rhai canlynol:—

1. Nad yw yr adran o'r 9fed adnod hyd yr 20fed yn y ddau ysgriflyfr *(manuscripts)* hynaf sydd ar gael, er fod un o honynt (B) yn cynnwys lle gwag yn niwedd yr efengyl, fel pe buasai yr ysgrifenydd yn golygu ysgrifenu yn helaethach.

2. Fod Eusebius, Jerome, a rhai ysgrifenwyr boreuol ereill, yn tystio nad ysgrifenwyd yr adran gan Marc, neu nad oedd i'w chanfod yn yr ysgriflyfrau goreu.

3. Nad yw arddull y rhan hon yr un peth ag eiddo Marc ei hun.

Y rhesymau dros ei phurdeb *(genuineness)* sydd fel y canlyn:—

1. Ei fod yn dra annhebygol y buasai ysgrifenydd un o'r Efengylau yn terfynu ei hanes synfawr gyda'r dywediad, "Canys yr oeddynt wedi ofni." (adn. 8.)

2. Fod Irenæus yn dyfynu y geiriau heb yr un petrusder yr hanner olaf o'r ail ganrif.

3. Ei bod i'w chael yn y rhan fwyaf o'r hen gyfieithiadau, ac yn yr holl ysgriflyfrau Groeg o Efengyl Marc, gydag eithriad neu ddwy.

4. Y gallai y cyfnewidiad a effeithiodd yr adgyfodiad awgrymu neu achosi cyfnewidiad yn yr arddull.

5. Nad yw yr hyn a briodolir i Jerome ac Eusebius mewn un modd mor bendant a therfynol ag yr honir. (Gwel *Dr. Wordsworth's Greek Testament* ar y lle.)

Mae yr adran wedi ei dodi yn ngwaelod y ddalen gan *Tischendorf;* —wedi ei gosod fel Attodiad i'r Efengyl gan law ddiweddarach gan *Alford;*—wedi ei gosod i fewn rhwng cromfachau gan *Westcott a Hort;*—yn cael ei derbyn fel rhan o Efengyl Marc ei hun gan *Wordsworth;*—ac yn cael ei derbyn fel rhan o'r Ysgrythyrau Canonaidd—er nad wedi ei hysgrifenu gan Marc ei hun—gan Ddiwygwyr y Cyfieithiad Seisnig yn 1881, a'i hargraffu yn y Testament Groeg a'r Cyfieithiad Seisnig, gyda chyfwng rhyngddi a'r rhan flaenorol o'r bennod. "On the whole, (ebe Dr. Roberts), a fair survey of all the facts of the case seems to lead us to these conclusions: first, that the passage is not the immediate production of St. Mark; and secondly, THAT IT IS, NEVERTHELESS, POSSESSED OF FULL CANONICAL AUTHORITY. We cannot ascertain its author, *but we are sure he must have been one who belonged to the circle of the apostles.* And, in accordance with this view of the paragraph, it is marked off from the words with which, for some unknown reason, the Gospel of St. Mark ended; while, at the same time, it is inserted, without the least misgiving, as an appendix to that Gospel in the Revised Version."—*Companion to the Revised Version of the English New Testament. By Alexander Roberts, D.D. Page* 63. *(London: Cassell.)*

Credwn na raid i ni betruso appelio ati fel rhan o wir air Duw, yn dadguddio ei ewyllys yn nghylch telerau derbyniad i mewn i deyrnas weledig ei anwyl Fab ef.

## III. CYFEIRIADAU ACHLYSUROL AT FEDYDD YN Y TESTAMENT NEWYDD.

Mae yr holl gyfeiriadau at fedydd yn yr Epistolau yn rhagdybied ffydd yn y bedyddiedig ar adeg ei fedyddiad, trwy yr hon yr oedd yn dyfod i gofleidio pethau ysbrydol a Dwyfol crefydd, ac o dan ddylanwad yr hon y cymmerai ei fedyddio.

(1,) Ioan iii. 5. "Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw."

(2,) Rhuf. vi. 3, 4. "Oni wyddoch chwi, am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu, ein bedyddio i'w farwolaeth ef?
Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd."

(3,) 1 Cor. vi. 11. "A hyn fu rhai o honoch chwi; eithr chwi a olchwyd (Gr. *apelousasthe*. 1. a. *Middle Voice*=a geisiasoch eich golchi—*ye got yourselves washed)*, eithr chwi a santeiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhawyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni."

(4,) Gal. iii. 27. "Canys cynnifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist (Gr. i Grist), a wisgasoch Grist.

(5,) Eph. iv. 3—5. "Gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd.
Un corph sydd, ac un Ysbryd, megys ag y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth:
Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd."

(6,) Col. ii. 12. iii. 1. "Wedi eich cydgladdu âg ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cydgyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw (*Revised Version*, "trwy ffydd yn ngweithrediad Duw"), yr hwn a'i cyfododd ef o feirw.
Am hyny os cydgyfodasoch gyda Christ, ceisiwch y pethau sydd uchod," &c.

(7,) Titus iii. 5. "Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân."

(8,) Heb. x. 22. "Neshawn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi glanhau ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corph â dwfr glân."

(9,) 1 Pedr iii. 21. "Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hwn sydd yr awr hon yn ein hachub ninnau, sef bedydd, nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw, trwy adgyfodiad Iesu Grist." (Gr. *eperôtêma*= ymofyniad, ymholiad; *Revised Version*, 1881, "ymholiad.")

Mae yr Ysgrythyrau hyn yn llefaru drostynt eu hunain; maent oll yn rhagdybied ffydd yn y bedyddiedig ar adeg ei fedyddiad. Yn ol yr engreifftiau uchod o dan (1,) a (7,) dysgir fod y dyn wedi cael ei eni o'r Ysbryd neu ei adnewyddu o ran ei galon gan yr Ysbryd Glân, pan yn cael ei fedyddio. Trwy y gair mae yr Ysbryd yn gweithredu, felly rhaid, yn ol natur pethau, fod dyn yn deall yr efengyl a'i chredu, yn ei adnewyddiad. Yn ol (2,) cawn y rhai bedyddiedig yn ymrwymo yn eu bedydd i gydffurfio â marwolaeth Crist, trwy wneyd i ffwrdd â phechod, a byw i anrhydeddu Duw. Yn ol (3,) cawn y Corinthiaid, ar ol cael eu hargyhoeddi a'u dychwelyd, yn ymofyn yn wirfoddol am gael eu bedyddio, yr hyn oedd yn arwyddlun o olchiad ymaith eu haflendid moesol, ac o'u hymgyssegriad i wasanaeth y Duw byw. Yn ol (4,) cawn y Galatiaid

yn ymgyflwyno i Grist yn eu bedydd, er dilyn ei esiampl, ac efelychu ei rinweddau. Yn ol (5,) cawn yr apostol yn cyfeirio at fedydd yr Ephesiaid fel un rheswm dros eu cymhell i heddwch a chydweithrediad, er mwyn iddynt gyflawni eu hadduned yn eu bedydd. Yn ol (6,) cawn fod y Colossiaid yn eu bedydd yn meddwl am farwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Crist, yr hyn a ddelweddid ger eu bron ar y pryd, ac yn credu y byddai i'r gallu anfeidrol a gyfododd Grist o feirw, eu cyfodi hwythau o ddyfnderoedd llygredd, a'u cadw yn fyw trwy ras, a'u galluogi i geisio y pethau sydd uchod ac ymhyfrydu ynddynt. Yn ol (8,) cawn yr apostol yn nodi puredigaeth mewnol y galon â gwaed Crist, a'r broffes allanol o ymgyssegriad i Dduw yn y bedydd, fel ystyriaethau cefnogol i agoshau at Dduw, a dyfalbarhau gyda'i waith ef. Ac yn ol (9,) cawn gydwybod dda y dychweledigion yn eu dwyn i ymostwng yn ewyllysgar i fedydd, er rhyngu bodd y Duw mawr, trwy gyfryngdod yr Arglwydd Iesu Grist.

Dichon y dylem sylwi o barthed Titus iii. 5., fod "golchiad yr adenedigaeth," yn golygu golchiad sydd yn *canlyn* yr adenedigaeth, neu adnewyddiad yr Ysbryd Glân, yn debyg fel y mae "gwaith eich ffydd chwi, a llafur eich cariad, ac ymaros eich gobaith" yn 1 Thes. i. 3., yn golygu "gwaith" sydd yn *canlyn* ffydd, ac yn deilliaw o honi; a "llafur" sydd yn *dilyn* cariad, ac yn brawf o'i fodolaeth; ac "ymaros" sydd yn *effaith* gobaith, ac yn ddadblygiad o'i elfenau iachusol. Yn gyffelyb cawn "bedydd addysg" (Gr. *baptismôn didachês*) am *fedydd ar ol addysg*, ac yn dilyn dysgeidiaeth yr efengyl. (Gwel *Winer's Gram. of N. T. Greek, Part* iii. *Sect.* 30. *Rem.* 4.) Mae cyfieithu yr ymadrodd yn "athrawiaeth bedyddiadau" yn drais ar bob rheol rammadegol.

Ni ddylai y ffaith fod y "geni o ddwfr" yn Ioan iii. 5. yn dygwydd o flaen y "geni o'r Ysbryd," a'r "golchi" yn 1 Cor. vi. 11. o flaen y santeiddio a'r cyfiawnhau, achosi rhwystr; OBLEGYD NID YW YR YSGRIFENWYR SANTAIDD YN WASTAD YN COFNODI PETHAU YN OL TREFN AMSER, NAC YN PROFFESU GWNEYD HYNY.

Er engraifft, dywedir yn 1 Tim. ii. 4., fod Duw "yn ewyllysio fod pob dyn yn gadwedig, a'u dyfod i wybodaeth y gwirionedd;" tra mae yn amlwg fod dyfod i wybodaeth y gwirionedd i ragflaenu bod yn gadwedig. Yn 1 Tim. iii. 16., dywedir am Grist,—"a bregethwyd i'r Cenedloedd, a gredwyd iddo yn y byd, a gymmerwyd i fyny i ogoniant," tra mai ar ol iddo esgyn i ogoniant y pregethwyd ef i'r Cenedloedd. Yn 1 Pedr i. 2., dywedir fod y saint wedi eu hethol "i ufydd-dod, a thaenelliad gwaed Iesu Grist," tra yn ol trefn yr efengyl taenelliad y gwaed sydd i fod gyntaf, gan nad yw ufydd-dod y saint ond effaith cymmod â Duw trwy groes Crist. Gwel "*Y Beibl a'i Ddehongliad*," Rhan ii. Pen. v. Rheol i. Nodiad vi.

## IV. YSTYRIAETHAU CYD-GADARNHAOL O'R ATHRAWIAETH.

Mae amryw ystyriaethau ereill yn profi mai credinwyr yw gwir ddeiliaid bedydd. Nodwn rai o honynt.

1. *Ystyr y gair Eglwys.*

Deillia y gair "eglwys" o'r gair Groeg *ekklêsia*, yr hwn a olyga, pan y cymhwysir ef at eglwys Dduw, naill ai (1,) *cynnulleidfa o ddynion mewn lle neillduol, wedi eu galw allan o'r byd trwy air ac Ysbryd Duw, ac wedi ymgyfammodi â'u gilydd i ddwyn gwasanaeth Duw yn mlaen*, megys yr eglwys yn Jerusalem, (Act. viii. i. xi. 22.) yn Antiochia, (Act. xi. 26. xiii. 1.) yn Corinth, (1 Cor. i. 2. 2 Cor. i. 1.) yn Thessalonica, (1 Thes. i. 1. 2 Thes. i. 1.) Galatia; (Gal. i. 2.) neu yn cyfarfod mewn tai unigolion, megys yr eglwysi yn nhai Acwila a Phriscila, (Rhuf. xv. 5. 1 Cor. xvi. 19.) a Philemon (Philem. 2.); neu (2,) yr *eglwys gyffredinol*, yn cynnwys yr holl waredigion yn mhob oes a gwlad, trwy y nef a'r ddaear. (Mat. xvi. 18. Eph. i. 22. iii. 10. v. 25. Heb. xii. 23.)

A'r eglwys yn yr ystyr flaenaf (1,) y mae â fynom yma. Yr un peth a olygir pan y sonir am "deyrnas Dduw," (Ioan iii. 3. 5.) a "thŷ Dduw," (1 Tim. iii. 15. Heb. iii. 6. x. 21. 1 Pedr iv. 17.) a "theml Dduw." (1 Cor. iii. 16. Eph. ii. 21, 22., &c.) Ond i fod yn aelodau o eglwys Dduw, rhaid i ni gael ein "galw â galwedigaeth santaidd;" (Rhuf. i. 6. 2 Tim. i. 9. 1 Pedr ii. 9.) i fyned i mewn i'w deyrnas, rhaid i ni gael ein "geni drachefn;" (Ioan iii. 3. 5. Col. i. 13.) i fod yn perthyn i dŷ Dduw, rhaid i ni gael ein gwneyd yn "blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu;" (Ioan i. 12, 13. Gal. iii. 26.) ac i fod yn offeiriaid yn nheml Dduw, rhaid i ni gael ein gwneyd "yn gyfranogion o'r dduwiol anian," a'n meddiannu â pharchedig ofn, fel y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd. (2 Pedr i. 4. 1 Pedr ii. 5.)

Desgrifir y cymhwysderau hyn mewn lleoedd ereill, fel adnewyddiad y galon, a dygiad enaid dyn i ymhyfrydu yn ewyllys ddadguddiedig Duw. (Heb. viii. 10—12.)

Gan mai ar ymuniad dyn âg eglwys Crist y bedyddir ef, mae cymmeriad y gynnulleidfa ysbrydol hôno yn dysgu yn eglur fod cyfnewidiad cyflwr i flaenori bedydd, ac mai rhagorfraint credinwyr yn unig yw yr ordinhad.

2. *Personolrwydd Crefydd, a Natur Gwasanaeth Duw.*

(1,) Gwasanaeth personol yw gwasanaeth Duw.

Nis gall un dyn weddio dros arall, fel ag i gyfiawnhau hwnw i

beidio gweddio drosto ei hun. Nis gall un dyn garu Duw yn lle ei gymmydog, na chredu dros ei gyfnesaf. Rhaid i ni gredu, edifarhau, gweddio, a dilyn buchedd newydd yn bersonol, megys ag y bydd raid i ni farw yn bersonol.

(2,) Gwasanaeth gwirfoddol ydyw.

Cariad at Dduw, a ffydd yn ei Fab ef, ydyw hanfod ein crefydd. Rhaid i'n holl weithredoedd crefyddol fod yn ffrwythau ffydd—yn effaith crediniaeth ddwys a goleuedig o'n dyledswydd yn ngwyneb gair Duw, ac yn ddadganiad gwirfoddol o'n serch at y Gwaredwr. (Ioan xiv. 15. 23, 24. Rhuf. xiv. 23. Heb. xi. 6.)

(3,) Mae dadganiad awdurdodol yn y Testament Newydd fod y grefydd genedlaethol a theuluaidd wedi cael ei dileu, a chyfundrefn ffydd wedi cael ei sefydlu yn ei lle.

Mat. iii. 8—10. Rhuf. ii. 29. xi. 19, 20. Gal. iii. 9. iv. 21—31. Heb. viii. 7—9.

Mae yr ystyriaethau uchod yn dangos fod yr Ysgrythyr yn gofyn ffydd yn y bedyddiedig, fel un o'r cymhwysderau anhebgorol i fedydd. Nid oes mwy o gyssondeb i *ffydd* y rhieni neu y meichnïwyr sefyll yn lle eiddo y plentyn, nag fyddai i osod *bedydd* y naill yn lle eiddo y llall!

---

# RHAN III.

(PARHAD.)

---

# DEILIAID BEDYDD.

---

## DOSRAN II.

## Y GWRTHDDADLEUON.

---

Dygir yn mlaen amryw o wrthddadleuon i olygiadau y Bedyddwyr ar Ddeiliaid Bedydd; rhai o honynt, fe ddichon, yn ymgodi oddiar anhawsder gonest yn meddyliau dynion o barthed y plant; ereill, yn ymddangos yn debycach i ieithwedd "cyndyn-ddadleu," nag i ymofyniad am y gwirionedd. Awgrymir weithiau fod y Bedyddwyr yn ymddwyn yn greulon tuag at eu plant trwy beidio eu bedyddio, a thrwy eu cau allan o'r eglwys. Ond wedi'r cwbl, nid yw Taenellwyr yn gwneyd ond ychydig fwy i'w plant na'r Bedyddwyr. Cymmerant hwy eu plant gyda hwynt i'r gyfeillach eglwysig; yno caiff eu plant glywed cynghorion ac addysgiadau; ac wedi iddynt gyrhaedd amgyffrediad am wasanaeth Duw, os byddant yn ymddwyn yn ddiargyhoedd, derbynir hwynt yn gyflawn aelodau.

Fe welir, ynte, mai *dysgu* y plant yw y peth penaf yr amcenir ato. Mae y Bedyddwyr mor selog gyda'r Ysgol Sabbathol ag enwadau ereill; mae ganddynt hwythau gyfarfodydd i ddysgu y plant yn nysgeidiaeth y Beibl, a'u hegwyddori yn ffordd duwioldeb; ymdrechant eu hargyhoeddi o werth crefydd, ac o'r pwys i arddel Iesu Grist; dangosant iddynt fod yn rhaid eu haileni cyn y gallant fod yn blant i Dduw, a myned i mewn i deyrnas nefoedd; a chynghorant hwynt i gofleidio Iesu Grist fel Gwaredwr, a gweddio ar Dduw am drugaredd. Mae yn amlwg, gan hyny, fod y Bedyddwyr yn *dysgu* eu plant mor effeithiol â'u brodyr o enwadau ereill; ac y mae

cynnifer, mewn cyfartaledd, o'n plant ni yn dyfod i broffesu crefydd ag sydd o'u plant hwythau.

Beth yw y gwahaniaeth, ynte, rhwng y Bedyddwyr ac ereill ar y pwynt hwn?

1. Maent hwy yn taenellu ar eu plant yn eu hanwybodaeth; ninnau yn oedi eu bedyddio hyd nes y deuant i ymostwng yn wirfoddol i Grist.

2. Maent hwy yn dysgu eu plant yn y gyfeillach eglwysig; ninnau yn eu dysgu mewn cyfarfodydd ereill, neillduol i'r perwyl hwn.

Yr ydym ni yn ystyried yn ddifrifol ein bod yn gwneyd gwell cyfiawnder â'r plant ac âg eglwys Dduw, wrth gadw oddi wrthynt y ddau beth a nodwyd, oblegyd ein bod yn credu (1,) mai defod anysgrythyrol yw taenelliad babanod, ac felly nas gellir dysgwyl bendith Duw arni; ac (2,) am ein bod yn credu fod dwyn plant i fyny o'u mhebyd yn y gyfeillach, a thuedd ynddo i beryglu iachawdwriaeth y plant eu hunain, a llygru eglwys Dduw trwy ddwyn dynion annychweledig i mewn iddi. Os dysgir plant eu bod hwy yn aelodau o'r eglwys o'u genedigaeth, bydd yn naturiol i'r plant ystyried eu bod hwy, o ganlyniad, ar dir diogel; ac felly i dyfu i fyny yn dawel, heb deimlo y pwys iddynt hwy yn bersonol gredu, edifarhau, a throi at yr Arglwydd. Nid o ddynion o'r fath yna y mae eglwys Dduw i gael ei gwneyd i fyny; trwy yr efengyl, ac nid trwy enedigaeth naturiol, y mae Duw yn dwyn dynion i mewn i deyrnas ei anwyl Fab.

Ond at y gwrthddadleuon. Gellir eu dosbarthu i ddau fath, y rhai a ddesgrifiwn, er mwyn cyfleusdra, y *Gwrthddadleuon Duwinyddol*, a'r *Gwrthddadleuon Hanesyddol.*

---

# I. GWRTHDDADLEUON DUWINYDDOL.

## § I. UNRHYWIAETH EGLWYS DDUW YN MHOB OES.

Dywedir mai yr un ydyw eglwys Dduw o dan bob goruchwyliaeth; a chan fod plant yn perthyn i'r eglwys Iuddewig, rhaid eu bod hefyd yn perthyn i'r eglwys Gristionogol; a phan ddychwelir yr Iuddewon, adferir yr un rhagorfreintiau iddynt, gan y byddant yn cael eu himpio yn eu holewydden eu hunain. (Rhuf. xi. 24.)

Ni wyddom yn sicr beth a olygir wrth iaith fel hyn. Meddylddrych perthynol i'r Testament Newydd ydyw eglwys. Yr oedd unigolion duwiol yn mhob oes a chenedlaeth; ond yn y Testament Newydd y cyfarfyddwn âg eglwys o saint. Y peth tebycaf i eglwys o dan yr Hen Destament oedd cynnulleidfa Israel (Heb. קהל *kâhâl;* LXX, *ekklêsia*), yn cael ei galw yn nghyd i wrando gair yr Arglwydd, neu i ddyben neillduol arall. (Deut. xviii. 16. xxiii. 2, 3. 8. Jos. viii. 35. Barn. xx. 2. xxi. 5. 1 Bren. viii. 14. 65, &c.)

Os ystyr yr wrthddadl hon yw, *fod y cyfammod a roddwyd trwy Moses ar Seinai yr un peth yn ei natur, er nad yn ei derfynau, a goruchwyliaeth yr efengyl, atebwn fod hyny yn groes i'r Testament Newydd.*

Cyfammod cysgodol a rhagbarotöawl oedd yr hen gyfammod; cyfammod tragywyddol ac annghyfnewidiol yw yr efengyl. Cyfammod cenedlaethol a lleol, gyda had Abraham yn ol y cnawd fel ei ddeiliaid, a Jerusalem fel eisteddle ei awdurdod a'i addoliad, oedd yr hen gyfammod: cyfammod cyffredinol â chredinwyr o bob cenedl, ac eisteddle ei awdurdod, a llys ei Freniniaeth, a chyssegr ei Offeiriaeth yn y nefoedd, yw y cyfammod newydd. Cyfammod gwladol a daearol, yr hwn y gallai dyn yn ei gyflwr annychweledig ei gyflawni, bendithion a chosbedigaethau pa un oedd yn wladol a daearol, oedd yr hen gyfammod; tra mae y cyfammod newydd yn ysbrydol yn ei ofynion, ei wobrwyon, a'i farnedigaethau. Genedigaeth naturiol o lwythau Israel, oedd yn rhoddi hawl i ragorfreintiau yr hen gyfammod; ond genedigaeth drachefn sydd yn rhoddi hawl i ragorfreintiau y cyfammod newydd.

Un o'r prif bethau gwahaniaethol rhwng y ddau gyfammod yw, fod Duw yn addaw dodi ei gyfraith yn meddwl, a'i hysgrifenu yn nghalon deiliaid y cyfammod newydd, yr hyn sydd yn cynnwys nad oedd ei gyfraith wedi ennill calonau deiliaid yr hen gyfammod yn

gyffredinol. (Jer. xxxi. 31—33. Heb. viii. 10—12.) Nid oedd eisieu calon newydd i alluogi dyn i orphwys ar y Sabbath, i gadw y gwyliau blynyddol yn Jerusalem, i ymdrochi ar ol ymhalogi, ac i offrymu anifail ar ol troseddu y gyfraith; gallasai dynion gyflawni y dyledswyddau allanol yna, fel deiliaid y wladwriaeth, heb fod yr un wreichionen o ysbryd addoli ynddynt, fel y mae achwyniadau yr Arglwydd yn profi. (Esai. i. 11. xxix. 13. lxvi. 1, 2. Rhuf. ii. 28, 29. Salm li. 17.) Ond yn yr holl ddefodau allanol yna, mae'n amlwg fod eisieu calon newydd i ymhyfrydu yn Nuw ar y Sabbath; i edifarhau am bechod, ac edrych at Oen Duw wrth aberthu; i weddio am buredigaeth yr enaid wrth olchi y corph mewn dwfr; ac i edrych yn mlaen at gynnulleidfa y gwaredigion yn y nefoedd, wrth ymgynnull i'r gwyliau blynyddol yn Jerusalem. Un peth, gan hyny, oedd bod o Israel: peth arall oedd bod yn "Israeliad yn wir." (Ioan i. 47. Rhuf. ix. 7.)

Ond o dan y cyfammod newydd, y mae yr holl ddeiliaid i fod yn Israeliaid yn wir, ac yn blant Duw trwy ffydd yn Nghrist Iesu.

Nid oedd addewid Duw i gymmeryd Israel yn bobl briodol iddo ei hun, yn cynnwys eu bod i fod oll yn blant ysbrydol iddo, ac yn etifeddion iachawdwriaeth; ond eu bod i fod yn bobl neillduol iddo ef fel cenedl, yn mhlith pa rai y sefydlai ei addoliad, ac y teyrnasai fel eu Brenin; a thra y byddai iddynt gydffurfio â'i ddeddfau, y byddai iddo ef eu hamddiffyn rhag eu gelynion, a'u cadw rhag rhyfeloedd, newyn, a haint, a'u bendithio â thymhorau ffrwythlon, ac â llwyddiant bydol. I fod yn eiddo yr Arglwydd mewn ystyr uwch, yr oedd yn rhaid meddu hyder personol ynddo, a chariad pur tuag ato. (Rhuf. ii. 28, 29.) Daearol oedd bendithion a barnedigaethau yr hen gyfammod. (Esai. i. 19, 20.) "Gwladwriaeth Israel" ydoedd; gyda Duw fel Pen, Brenin, a Deddfroddwr iddo, a Gwrthddrych mawr ei addoliad. Yr oedd miloedd yn Israel yn byw o dan Dduw fel Brenin y wlad, er nad oeddynt yn ei anrhydeddu fel Gwrthddrych addoliad. Yr oedd eisieu llygad ffydd i weled ystyr y cysgodau, a chalon newydd i gymdeithasu yn ysbrydol âg Arglwydd y genedl.

Pe mai yr un fyddai yr eglwys o dan y ddau gyfammod, ni allasai Iesu Grist ddysgu fod yn rhaid i Nicodemus gael ei eni drachefn, cyn y gallai fyned i mewn i deyrnas Dduw (Ioan iii. 3—5.); ni fuasai eisieu cyfnewid Saul o Tarsus; ni fuasai eisieu i wrandawyr dydd y Pentecost edifarhau, a throi at yr Arglwydd; ac ni fuasai Mab Duw yn dweyd wrth ei gyd-oeswyr mai "o'u tad diafol yr oeddynt." (Ioan viii. 44.)

Mae gwahaniaeth hanfodol y ddau gyfammod yn cael ei ddysgu yn

eglur trwy yr holl Feibl: Jer. xxxi. 31—33. Heb. viii. 10—12. Mat. iii. 9, 10. Ioan iv. 23, 24. Gal. iii. 7. 29. iv. 21—31.

O barthed impio yr Iuddewon "i mewn yn eu holewydden ei hun," credwn mai dysgu dychweliad yr Iuddewon i gofleidio y Messiah a olygir: (1,) Crist ei hun yw yr Olewydden hon, (Cym. Ioan xv. 1—5.) (2,) Crist yw unig rwymyn undeb rhwng Iuddewon a Chenedloedd. (3,) Mae yr impiad i mewn i gymmeryd lle trwy ffydd, a thrwy ffydd y mae dynion yn cael eu huno â Christ. (Rhuf. xi. 20.) (4,) Crist yw ffynnonell nerth ysbrydol y saint. Rhaid fod "bod yn gyfranog o'r gwreiddyn ac o frasder yr olewydden," (Rhuf. xi. 17.) yn golygu y gras a'r nerth a ddeillia trwy undeb ffydd â Christ. Nid oes nerth ysbrydol i'w gael oddiwrth Abraham, nac oddiwrth unrhyw batriarch, na phrophwyd, na sant. (5,) Yr oedd Crist, ar un olwg, yn olewydden yr Iuddewon, gan mai o honynt hwy, o ran y cnawd, yr hanodd. (6,) Nid oes un adferiad arall yn cael ei addaw i'r Iuddewon, ond adferiad at Dduw trwy Grist, ar delerau yr efengyl, "canys nid oes gwahaniaeth." (Rhuf. iii. 22. Gal. iii. 28.) Gwel "*Y Beibl a'i Ddehongliad,*" tudal. 381, 382. (Ail Argraffiad.)

---

## § II. BEDYDD WEDI DYFOD YN LLE ENWAEDIAD.

Dywedir yn fynych fod bedydd wedi dyfod yn lle enwaediad; a chan yr enwaedid ar fabanod gynt, y dylid bedyddio babanod yn awr. Ond nid oes sail yn y Beibl dros y fath haeriad. Casgliad disail ydyw y cyfan.

Mae'n debyg fod yr Iuddewon Cristionogol yn y dechreu yn parhau i enwaedu eu plant; yr oeddynt yn awyddus i ddwyn y Cenedloedd o dan iau yr enwaediad; (Act. xv.) os ydyw bedydd wedi dyfod yn lle yr enwaediad, onid oedd cyfle gogoneddus i'r apostolion i ddysgu hyn, a thrwy hyny dawelu meddyliau eu brodyr? Oni fuasai gan Paul atebiad parod i'r rhai a ddywedent ei fod yn pregethu yr enwaediad, trwy ddweyd fod bedydd wedi dyfod yn lle enwaediad, a bod yr enwaediad i roddi lle i fedydd? Fe fedyddiwyd Paul ar ol ei enwaedu, ac fe enwaedwyd Timotheus ar ol ei fedyddio, yr hyn ni allasai fod pe buasai y naill wedi dyfod yn lle'r llall. Yr hyn sydd yn lle enwaediad yw, enwaediad y *galon*, neu ddychweliad at Dduw, pryd y mae dyn yn dyfod i garu Duw, ac i ymwrthod â'i ddrygioni. (Rhuf. ii. 29. Phil. iii. 3. Col. ii. 11. Deut. xxx. 6.)*

---

* "The absurdity of urging the baptism of infants from the institution of circumcision, will appear by observing,—

## § III. CYFAMMOD ABRAHAM.

"Cadarnhaf hefyd fy nghyfammod rhyngof â thi, ac â'th had ar dy ol di, trwy eu hoesoedd, yn gyfammod tragywyddol, i fod yn Dduw i ti, ac i'th had ar dy ol di.
A mi a roddaf i ti, ac i'th had ar dy ol di, wlad dy ymdaith, sef holl wlad Canaan, yn etifeddiaeth dragywyddol; a mi a fyddaf yn Dduw iddynt." (Gen. xvii. 7, 8.)

1. Dylid gwahaniaethu rhwng yr addewid am y Messiah, a'r cyfammod i roddi gwlad Canaan i Abraham.

Addawodd Duw fendithio yr holl Genedloedd yn Had Abraham, yr hwn yw Crist, ebe'r apostol Paul. (Gal. iii. 16. Gen. xii. 3. xviii. 18. xxii. 18. xxvi. 4.) Gwnaeth gyfammod hefyd âg Abraham i roddi Canaan i'w hiliogaeth naturiol, o'r hwn yr oedd yr enwaediad yn arwydd. (Gen. xvii. 7—14.) "Credodd Abraham" yr addewid am Grist fel cronfa bendithion i'r holl ddaear, "a chyfrifwyd (ei ffydd) iddo yn gyfiawnder." (Gen. xv. 6.) Daeth ef fel hyn yn brif gynnrychiolydd teulu y ffydd yn mhob oes a gwlad, "ac yn dad pawb a gredant." (Rhuf. iv. 11. Gal. iii. 9.)

2. Dylid cofio fod cyfammod yr enwaediad yn drefniant israddol ac iswasanaethgar, er sicrhau cyflawniad yr addewid am y Messiah.

Cyfammod oedd hwn âg Abraham fel tad y genedl trwy linach Isaac a Jacob, i roddi Canaan i'w hiliogaeth, a'i chadw iddynt hyd oni ddelai y Messiah. Enwaediad oedd yr arwydd o'r cyfammod hwn. *I Abraham ei hun yr oedd yr enwaediad yn arwydd fod ganddo ffydd*, (Rhuf. iv. 11.) *ond nid oedd felly, o anghenrheidrwydd, i neb o'i hiliogaeth.* Ordinhad gnawdol, Iuddewig, ydoedd enwaediad, i'w diddymu ar ddiddymiad yr hen oruchwyliaeth. Ni throsglwyddai un fendith ysbrydol i'r rhai a enwaedid, ond yn unig rhoddi hawl iddynt i fyw yn Nghanaan, a chyfranogi o fanteision y genedl o dan y Ddwyflywodraeth. (Act. vii. 8. Rhuf. iii. 1, 2.)

---

1. That *male children only* were to receive that rite; and
2. That *men-servants* and *slaves* were equally commanded to be circumcised when the master was, and that under the pain of being cut off, or put to death." (Gen. xvii. 9—14.)

If that Divine command, therefore, be applied as descriptive of the subjects of baptism, it will *equally require* the baptism of servants and purchased slaves, willing or unwilling, as well as of infants; and it would *restrict* the Christian ordinance to the male sex alone. This being so plainly contrary to the revealed will of Christ on baptism, proves the fallacy of the doctrine."—*The Baptist Denomination.* By D. C. Haynes. New York, 1857. Page 172.

Cynnwysai y cyfammod âg Abraham hefyd addewid am liosogrwydd hiliogaeth, ac am amddiffyniad Rhagluniaethol Duw iddo ef a'i had, (Gen. xvii. 7.)—yr un peth yn sylweddol ag addewid Duw i Israel ar ol hyny. Gwel uchod § I.

Pan y cyfeiria y Testament Newydd at ragorfreintiau yr Iuddewon fel cenedl, desgrifia hwynt fel rhai *allanol*, heb olygu o anghenrheidrwydd fod eu meddiannwyr yn caru Duw, ac yn ymhyfrydu yn ei gyfraith ef. (Mat. iii. 9. viii. 12. xi. 20—24. xxi. 43. Rhuf. ii. 28. iii. 2. ix. 1—8. Heb. viii. 9.)

Ond beth sydd a fyno yr holl bethau hyn â phrofi Dwyfoldeb bedydd babanod, nis gwyddom. Tri math o had sydd gan Abraham, sef (1,) Crist (Gal. iii. 16.): (2,) ei had yn ol y cnawd (Mat. iii. 9.): (3,) ei had ysbrydol, sef credinwyr. (Rhuf. ix. 7, 8. Gal. iii. 7.) Trwy gredu yn unig y gall Cenedloedd ddyfod yn had Abraham, a chael Duw yn Dduw eu hiachawdwriaeth.

Gwrthddadleuir, modd bynag, mai yr un yw y cyfammod Abrahamaidd a'r cyfammod gras, a chyfeirir at Gal. iii. 17. fel prawf o hyny, am y dywedir fod "Duw yn Nghrist" wedi ei gadarnhau; a chan y derbynid babanod gyda'u rhieni i gyfammod Abraham, ac i dderbyn yr arwydd o hono, rhaid, gan hyny, fod babanod i gael eu derbyn gyda'u rhieni i gyfammod gras, ac fel hwythau i dderbyn yr arwydd o fedydd.

Nid ydyw yr ymadrodd "cyfammod gras" yn dygwydd yn y Beibl, ac nis gwyddom yn sicr beth a olygir wrtho. O bossibl y golygir wrtho ymrwymiad o du Duw i gyfranu gras; os felly, y rhai sydd o ffydd yw ei ddeiliaid. Ond mae'n debygol mai yr hyn a olygir yw, yr oruchwyliaeth Gristionogol a'i breintiau, neu eglwys Dduw a'i manteision; os felly, y rhai sydd wedi eu geni drachefn, a'u galw i fod yn saint, yw ei ddeiliaid. (Ioan iii. 3—5. Rhuf. i. 7. 1 Cor. i. 2.)

Gyda golwg ar Gal. iii. 17., mae dau beth yn deilwng o sylw:—

1. Y gair "ammod" neu "ewyllys." Y gair gwreiddiol yw *diathêkê*. Golyga *ewyllys*, *trefniant*, *gosodiad*, neu *gyfammod*. Y gair *diathêkê* yw y gair yn y bymthegfed adnod am "*ammod*" dyn. Golyga y gair yn fynych yn y Testament Newydd "addewidion Dwyfol ar yr ammod o ufydd-dod." (Luc i. 72, 73. Act. iii. 25. vii. 8. Gal. iv. 24. Heb. viii. 10. ix. 4. 15., &c.—*Dr. E. Robinson's Greek Lexicon.*) Golyga yn Gal. iii. 17. yr addewid neu'r ewyllys Ddwyfol i fendithio y rhai a gredant o'r holl Genedloedd yn Nghrist. (adn. 8.)

2. Y geiriau "yn Nghrist" neu "am Grist."* Geiriau Paul

---

* Yn nhestynau diwygiedig awdwyr y *Revised Version*, Alford, Lightfoot, Tischendorf, Westcott & Hort, &c., gadewir allan *eis Christon.*

ydynt "*eis Christon*," pa rai a olygant yma "am Grist," oblegyd am Grist yr oedd Duw yn meddwl pan yn dweyd, "Ynot ti y bendithir yr holl Genedloedd," ac "Yn dy had di." Cyfieithir y gair *eis* yn *am* mewn lleoedd ereill. Eph. v. 32., "Eithr *am* Grist (*eis Christon*), ac *am* yr eglwys (*eis tên ekklêsian*), yr wyf fi yn dywedyd." Heb. vii. 14., "*Am* (*eis*) yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim tuag at yr offeiriadaeth." Meddwl y geiriau, ynte, yw hyn:—

"A hyn yr wyf yn ei ddywedyd am yr ammod neu yr addewid a gadarnhawyd o'r blaen gan Dduw (wrth Abraham) *am* Grist, (sef, ynot ti y bendithir yr holl Genedloedd; adn. 8.) ac yn dy had di y bendithir holl Genedloedd y ddaear, (Gen. xxii. 18. Gal. iii. 16.) nad yw y ddeddf oedd bedwar cant a deg ar hugain ar ol hyny, yn ei dirymu, fel ag i wneuthur yr addewid (hòno am Grist) yn ofer." Yr addewid oedd, y byddai i'r Cenedloedd a gredant yn Nghrist gael eu cyfiawnhau:—"A'r Ysgrythyr yn rhagweled mai *trwy ffydd* y mae Duw yn *cyfiawnhau* y Cenedloedd, a ragefengylodd i Abraham, gan ddywedyd, Ynot ti y bendithir yr holl Genedloedd." (adn. 8.)

Cyfiawnhad trwy ffydd sydd gan yr apostol dan sylw. Ymresyma fel y canlyn:—

1. Trwy ffydd y cyfiawnhawyd Abraham. (adn. 6.)

2. Y rhai sydd o ffydd yw plant Abraham yn ol yr efengyl. (adn. 7.)

3. Cyfiawnhad trwy ffydd oedd gan Dduw mewn golwg wrth addaw i Abraham y gwnelai fendithio y Cenedloedd yn ei had. (adn. 8.)

4. Nid oes neb ond credinwyr yn cael eu cyfiawnhau fel Abraham. (adn. 9.)

5. Fod cyfiawnhad dynion trwy weithredoedd yn anmhossibl, oblegyd (1,) eu bod o dan felldith; ac (2,) am mai trwy ffydd y mae y cyfiawn yn cael bywyd. (adn. 11.)

6. Fod Crist wedi marw i brynu ei bobl oddiwrth felldith, (adn. 13.) ac i ddwyn y Cenedloedd i afael cyfiawnhad fel Abraham. (adn. 14.)

7. Yr oedd addewid Duw i fendithio y Cenedloedd crediniol yn Nghrist yn ddialw yn ol. (adn. 15, 16.)

8. Nad oedd rhoddiad y ddeddf yn dirymu yr addewid a roddwyd i Abraham gyda golwg ar y Messiah., (adn. 16.) &c., &c.

Y gwir yw, mae bedydd babanod yn berffaith groes i athrawiaeth Paul ar gyfiawnhad, ac nis gall gael lle yn ei gyfundrefn ef.

## § IV. CRIST YN BENDITHIO PLANT BYCHAIN.

"Gadewch i blant bychain, ac na waherddwch iddynt ddyfod ataf fi; canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd." (Mat. xix. 14.)

Mae yn amlwg mai nid gorchymyn i blant bychain gael dyfod ato i gael eu bedyddio a olygai Crist, oblegyd ni ddarfu iddo ef na'i ddysgyblion eu bedyddio; felly, beth bynag yw ystyr y geiriau, "Gadewch i blant," &c., nid oes yma yr un awdurdod i fedyddio babanod i'w chael.

"Rhaid i ni gymmeryd gofal, (ebe Poole ar Mat. xix. 14.) na fydd i ni sylfaenu bedydd babanod ar esiampl Crist yn y testyn hwn; oblegyd mae yn sicr na fedyddiodd efe y plant hyny. Ni ddywed Marc ond, Efe a'u cymmerodd hwy yn ei freichiau, ac a roddodd ei ddwylaw arnynt, ac a'u bendithiodd."

A ganlyn ydynt nodiadau Barnes a Baptist W. Noel ar yr amgylchiad. Gŵyr y darllenydd fod Barnes yn dra selog dros daenelliad babanod:—

Mat. xix. 14. "'*Eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd.*' Mae'n amlwg fod teyrnas nefoedd yma yn golygu *yr eglwys.* Yn Marc a Luc dywedir ei fod wedi ychwanegu yn ddioed, 'Pwy bynag ni dderbynio deyrnas Dduw fel dyn bach, nid â efe i mewn iddi.' Pwy bynag na fydd yn ostyngedig, yn ddiuchelgais, a hynaws, ni fydd yn wir ganlynwr i Grist, nac yn aelod o'i deyrnas. *O'r cyfryw rai,*—hyny yw, o bersonau gyda thymherau cyffelyb i'r rhai hyn y mae yr eglwys i gael ei chyfansoddi. Nid ydyw yn dweyd *o'r babanod hyny,* ond o'r personau hyny a'u *hefelychent,* neu fyddent *debyg* iddynt mewn tymher, yr oedd teyrnas nefoedd yn cael ei chyfansoddi. Yr oedd yn beth gweddus, gan hyny, iddo weddio drostynt."—*Barnes.*

"Gadewch i ni (ebe Noel,) edrych i mewn i'r hanes yn Marc x. 13—16. Nis gall dim fod yn fwy eglur na dysgeidiaeth ein Harglwydd yn y lle hwn. Yr oedd yn caru y plant bychain hyn, gan gyhoeddi fod ei deyrnas yn perthyn i bersonau tebyg iddynt; (Mat. xviii. 3.) ac yna, gan annog eu cyfeillion i'w dwyn hwy ato ef, efe a'u cymmerodd yn ei freichiau, ac a'u bendithiodd. Yr oedd y bendithio yna, fel efe ei hunan, yn abl i achub. Nid wyf yn ammheu na ddarfu i bob un o'r plant hyny, wedi cael y fath fendithio, mewn amser cyfaddas dderbyn yr efengyl, cael eu haileni, eu santeiddio, a'u hachub; eto, ni fedyddiai efe hwynt. Yr oedd ei ddysgyblion yno yn barod i'w bedyddio, fel y bedyddiasant ddysgyblion ereill; ac os bu erioed fabanod yn gymhwys i'w bedyddio, rhaid mai y rhai a fendithiwyd yn flaenorol gan Grist oedd y rhai hyny; eto ni fedyddiai efe hwynt. Y mae Iesu yn caru i rieni ddweyd wrth eu plant am dano, a phan y gofynant ei fendith arnynt, y mae yn barod i'w rhoddi; ond nid ydyw yn caniatâu iddynt gael eu bedyddio."—*B. W. Noel.*

Nid yw Iesu Grist yn y geiriau hyn yn dysgu fod y plant hyn, nac unrhyw blant ereill, i gael lle yn eglwys Dduw, ond mai rhai *tebyg* iddynt yn yr ystyr a nodwyd yw ei haelodau ac etifeddion ei rhagorfreintiau. Ni wnelsai creaduriaid *greddf*, megys *oen* neu *golomen*, er eu diniweidrwydd, ateb y dyben i osod allan ddeiliaid teyrnas nefoedd, gan nad oes *cynnydd* a *dysgu* yn perthyn i reddf fel i blentyn. Heblaw ei ddiniweidrwydd a'i ddiddichelldra, y mae gan blentyn allu i ddysgu ac efelychu ereill, ac y mae yr elfen ymddiriedol yn gref ynddo. Mae ymddiried plant yn eu rhieni yn annherfynol. Rhai diniwaid, diddichell, ymddiriedol yn eu Duw, (Job xiii. 15.) awyddus i ddysgu ffyrdd yr Arglwydd, ac i efelychu Mab Duw, yw gwir ddeiliaid teyrnas nefoedd.

"Gall y gair *toioutôn*='cyfryw rai,' yma olygu (ebe Dr. Doddridge*), nid y rhai sydd yn fabanod mewn *oedran*, ond personau, y rhai o ran tymher a thuedd eu meddwl a efelychant ddiddichelldra a diniwedrwydd plant, pa ystyr y mae y cyssylltiad yn ymddangos yn ei ffafrio."—*Lectures* cciii. *Argument* iii.

---

## § V. BEDYDDIAD TEULUOEDD.

Dywedir fod hanes bedyddio teuluoedd yn llyfr yr Actau, a'i fod yn rhesymol i gasglu fod babanod yn rhai o honynt. Dymunwn gyfeirio y darllenydd at y rhestr o'r teuluoedd hyn, a'r Sylwadau arnynt yn nhudalenau 194, 195.

Dywedir, modd bynag, fod y geiriau Groeg am dŷ a theulu, *oikos* ac *oikia*, yn profi ysgrythyroldeb bedydd babanod. Dysgai Mr. Charles Taylor, golygydd Geiriadur Calmet, yn ei "*Facts and*

---

* Mae Dr. Doddridge yn ymddangos yn fwy pryderus am anrhydedd bedydd babanod yn ei Esboniad i'r werin, sef y *Family Expositor*, nag yn ei *Lectures* i'r *Students* yn Athrofa Northampton. O bossibl, ei fod yn ystyried y gallai yr efrydwyr dreulio "bwyd cryf" yn well na'u cynnulleidfaoedd. Yn ei Esboniad, dywed, "Persons of such a character are the true subjects of my kingdom, and heirs of eternal glory, to which many little children are received; and in token of it, the children of believing parents are to be admitted into my church by baptism." *Hyfdra a rhyddid mawr, yn ddiau, hyd y nod i wr mor dduwiolfrydig a Doddridge, oedd rhoddi y fath eiriau yn ngenau Iesu Grist!* Tebyg ei fod yn teimlo hyny, pan yr ysgrifenai ar waelod y ddalen:—"*Of such is the kingdom of God, &c.*—I acknowledge these words will not of themselves prove *infant baptism* to be an institution of Christ." Os nad ydyw y geiriau eu hunain yn profi bedydd babanod i fod yn ordinhad Crist, ni wna un math o aralleiriad o honynt nac o esboniad arnynt beri iddynt wneyd hyny.

*Evidences on the Subject of Baptism*," (Letter III.) ac adseinir ei ddysgeidiaeth gan Dr. Wm. Hodges yn ei "*Baptism tested by Scripture and History*," (New York, 1875,) tudal. 208—210, ac mewn rhai llyfrau Cymreig, sef—"fod y gair Groeg *oikos* (tŷ) yn golygu *adeilad heb y tai allan*, a thrwy drawsenwad, *y teulu heb y gwasanaethyddion;* a bod y gair Groeg *oikia* (tŷ) yn golygu *adeilad gyda'r tai allan*, a thrwy drawsenwad, *y teulu gyda'r gwasanaethyddion;* a bod *oikos* yn arbenig yn cynnwys *cyfeiriad diammheuol at fabanod*."

Dywedwn yn ddibetrus nad oes un math o sail i'r fath dyb, fel y dengys yr ystyriaethau canlynol:—

1. Yn y LXX, defnyddir *oikos* ac *oikia* yn ddiwahaniaeth fel cyfieithiad o בית *(baith)* tŷ, i olygu *adeilad* a *theulu*. Gwel Gen. xii. 15. Gen. xix. 3, 4. xxxiii. 17. xxxix. 8, 9. 11. 16. xliii. 17. xliv. 1. xlvi. 31. Ecsod. xii. 3, 4. Deut. xxv. 9, 10. Ruth iv. 11. &c., &c.

2. Yn y Testament Newydd, defnyddir *oikos* ac *oikia* yn gyfystyr, ac i olygu *adeilad* a'i *breswylwyr*.

(1,) *Adeilad.*

"A hi a oleua i bawb sydd yn y tŷ (*oikia*)." (Mat. v. 15.)
"Dos i'th dŷ (*oikon*)." (Mat. ix. 6. xxiii. 38.)
"A'r tŷ (*oikia*) a lanwyd gan arogl yr ennaint." (Ioan xii. 3.)

(2,) *Tylwyth neu linach.*

"O dŷ (*oikou*) Dafydd." (Luc i. 27. 69. ii. 4. Mat. x. 6.)

(3,) *Teulu.*

"Ac os bydd y tŷ (*oikia*) yn deilwng, deued eich tangnefedd arno." (Mat. x. 13.)
"Tangnefedd i'r tŷ (*oikô*) hwn." (Luc x. 5.)
"Pob tŷ (*oikia*) wedi ymranu yn ei erbyn ei hun, ni saif." (Mat. xii. 25.)
"Efe a gredodd a'i holl dŷ (*oikia*)." (Ioan iv. 53.)
"Gŵr defosiynol, yn ofni Duw, yn nghyda'i holl dŷ (*oikô*)." (Act. x. 2. xi. 14.)
"Wedi ei bedyddio hi a'i theulu (*oikos*)." (Act. xvi. 15. 31.)
"Mi a fedyddiais hefyd dylwyth (*oikon*) Stephanas." (1 Cor. i. 16.)
"Chwi a adwaenoch dŷ (*oikian*) Stephanas." (1 Cor. xvi. 15.)
"Fel y gwypech pa fodd y mae yn rhaid ymddwyn yn nhŷ (*oikô*) Dduw, yr hwn yw eglwys y Duw byw, colofn a sylfaen y gwirionedd." (1 Tim. iii. 15.)
"Eithr Crist, megys Mab ar ei dŷ (*oikon*) ei hun: tŷ (*oikos*) yr hwn ydym ni, os nyni a geidw ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." (Heb. iii. 6.)

Gall y geiriau *oikos* ac *oikia*, fel y gair Cymraeg *teulu*, olygu teulu yn mha un y ceir babanod, neu deulu yn yr hwn ni cheir hwynt; ond ynfydrwydd yw dweyd fod y gair o anghenrheidrwydd yn cynnwys babanod. Yr oedd tŷ Cornelius yn ofni Duw; teulu y pendefig o Capernaum a theulu ceidwad y carchar yn credu; a thylwyth Stephanas yn ymroddi i wasanaethu y saint. Pan y sonir am deuluoedd yn cael eu bedyddio, mae yr Ysbryd Glân wedi gofalu cofnodi rhywbeth yn yr hanes ag sydd yn dangos mai teuluoedd yn credu oeddynt.*

---

* Mae y gwrthddadleuon a ddygir yn mlaen yn erbyn y golygiadau blaenorol am ystyron *oikos* ac *oikia*, yn dair, ac o ran y sylwedd fel y canlyn:—

(1,) *Fod* oikia *yn golygu y tai allan, neu anneddau y gwasanaethyddion, ac nid trigfa y teulu.*

(2,) *Pan y defnyddir* oikia *yn drawsenwol, ei fod yn golygu yn benaf y gwasanaethyddion, neu y teulu gyda'r gwasanaethyddion.*

(3,) *Nad ydyw* oikos *yn cynnwys y gwasanaethyddion.*

I'r haeriadau hyfion a disail hyn, atebwn,

(1,) Ein bod wedi profi uchod fod *oikia* ac *oikos* yn gyfystyr, fel y dengys yr engreifftiau a ddygwyd yn mlaen. Ac mor bell o sefyll am y tai allan yn unig neu yn benaf, cawn *oikia* yn sefyll am ran neu ystafell o'r tŷ, megys ag yn Ioan xii. 3., ac yn Mat. v. 15. Cawn *oikos* hefyd yn sefyll am ran o'r adeilad yn Luc xiv. 23. Act. ii. 2. x. 30. xi. 13.

(2,) Mor bell yw *oikia* o fod yn air yn golygu gwasanaethyddion yn unig, fel y defnyddir ef, nid yn unig yn gyfystyr âg *oikos* i olygu teulu yn gyffredinol, ond hefyd i osod allan weithiau hyd y nod deulu breninol, a theuluoedd ereill, a hyny yn y fath fodd ag i gau allan y gwasanaethyddion.

Sonia Demosthenes *(Second Olynthiac,)* am sefyll "yn erbyn y teulu (*oikian*) breninol."

Rhoddodd Astyages, brenin Media, ei ferch Mandane yn wraig i Cambyses, "yr hwn oedd o deulu (*oikiês*) anrhydeddus." (*Herodotus* I. 107.)

Darfu i un Jonadab longyfarch Jehu, "am ei fod wedi gwneyd pob peth yn ol ewyllys Duw, wrth ddiwreiddio teulu (*oikian*) Ahab." (*Josephus*, *Antiq. B.* ix. *Ch.* 6.)

"A holl dŷ Joseph, a'i frodyr, a thŷ (*oikia*) ei dad." (Gen. l. 8.)

"Mi a'ch cynnaliaf chwi, a'ch rhai bach," LXX, *oikias*=a'ch teuluoedd. (Gen. l. 21.)

Gwel hefyd Deut. xxvi. 11. Jer. xxxv. 5.

(3,) Nad ydyw y gair *oikos* byth yn cynnwys y gweision, sydd yr un mor ddisail.

Cynnwysa y plant a'r gwasanaethyddion yn yr engreifftiau canlynol:—

Gen. xii. 17. "A'r Arglwydd a darawodd Pharaoh a'i dŷ (*oikon*) â phlaäu mawrion.

Gen. xvii. 27. "A holl ddynion ei dŷ (*oikou*) ef, y rhai a anesid yn tŷ, ac a brynasid âg arian gan neb dyeithr, a enwaedwyd gydag ef."

Terfynwn yr adran hon ar "Fedyddiad Teuluoedd," gyda'r dyfyniad canlynol o waith yr hanesydd enwog, a'r beirniad teg, Neander:—

"Gan fod ffydd a bedydd bob amser yn cael eu cyssylltu mor agos yn y Testament Newydd (ebe Neander), yr oedd yn beth tebyg y cyfodai y dyb, nad ellid bedyddio lle nad ellid cael ffydd. *Y mae yn sicr na ordeiniodd Crist fedydd babanod.* Gadawodd lawer yn wir, yr hyn nad oedd yn anghenrheidiol er iachawdwriaeth, i ddadblygiad rhydd ysbryd Cristionogol, heb sefydlu cyfreithiau rhwymedig. *Nis gallwn brofi fod yr apostolion wedi sefydlu bedydd babanod.* Oddiwrth y lleoedd lle y sonir am fedyddio teulu cyfan, megys yn Act. xvi. 33. 1 Cor. i. 16., nis gallwn dynu y fath gasgliad, oblegyd yr ymofyniad o hyd i gael ei wneyd yw, pa un a oedd plant yn y teuluoedd hyn o'r fath oed, fel ag i fod yn analluog i wneyd derbyniad deallus o Gristionogaeth, oblegyd hwn yw yr unig bwynt ar yr hwn y mae y mater yn troi."—Neander's *Church History*, by Rose, vol. i. p. 360. Neander's *History of the Planting of Christianity*, vol. i. pp. 162, 163. (London, 1851.)

Mae yn rhesymol cydsynio âg esboniad y Bedyddwyr ar hanes bedyddiad y teuluoedd, ebe Dr. Doddridge, am y dywedir fod teuluoedd cyfain wedi *credu.—Lecture* cciii. Argument ii.

---

## § VI. Y PLANT YN SANTAIDD.

1 Cor. vii. 14. "Pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eich plant; eithr yn awr santaidd ydynt."

Barna rhai fod y geiriau hyn yn dysgu fod rhyw gyssegredigrwydd yn perthyn i blant crefyddwyr yn fwy nag i blant pobl ereill, a'u bod i gael edrych arnynt fel etifeddiaeth yr Arglwydd mewn modd mwy neillduol ac arbenig nag ereill. Ymddengys oddiwrth y cyssylltiadau, modd bynag, nad yw yr apostol yn awgrymu y fath beth.

1. Mae y santeiddrwydd hwn, beth bynag ydyw, yn perthyn i'r gwr neu y wraig ddigred, yn ogystal ag i'r plant.

"Canys y gwr digred a santeiddir (Groeg, *hêgiastai*=a santeiddiwyd) trwy y wraig, a'r wraig ddigred a santeiddir (Groeg, *hêgiastai*=a

---

Gen. xxxvi. 6. "Ac Esau a gymmerodd ei wragedd, a'i feibion, a'i ferched, a holl ddynion ei dŷ (*oikou*)."

Gen. xxxix. 4, 5. "Yntau a'i gwnaeth ef yn olygwr ar ei dŷ (*oikou*)."

Rhaid fod y profion o ysgrythyroldeb bedydd babanod yn brinion, cyn y pwysid ar sylfaen mor dywodlyd a hon!

santeiddiwyd) trwy y gwr." (adn. 14.) Yr amser gorphenol *(perfect tense)* a ddefnyddir yma gan Paul, er dangos fod y santeiddrwydd yna wedi cymmeryd lle er adeg eu priodas, ac yn parhau o hyd yn ei rym a'i effeithiolrwydd. Ni all gan hyny olygu purdeb moesol neu neillduad i wasanaeth Duw, gan nad ydyw efe yn derbyn y rhai diffydd.

2. Ystyr y santeiddrwydd yma, mae'n amlwg, ydyw *neillduad* y gwr i'r wraig, a'r wraig i'r gwr, *trwy appwyntiad Duw yn yr ordinhad o briodas*, ac felly yn cynnwys y meddylddrych o *gyfreithlondeb.*

Cymharer y defnydd a wneir o'r gair *santeiddio* yn Ecsod. xix. 10. 14. 23. xx. 8. xxviii. 41. xxix. 36. Lef. xxi. 8. Mat. xxiii. 17. 19. Rhuf. xv. 16. 1 Tim. iv. 5., &c. Yn Act. x. 14. 28. xi. 8., defnyddir y gair "cyffredin"* yn gyfystyr â'r gair "aflan," yr hyn a ddengys mai *aflan, yn yr ystyr o fod yn annghyfreithlon yn ol deddf Moses, a olygir.* Felly yn 1 Cor. vii. 14. golyga y gair "aflan" *annghyfreithlon yn ngwyneb deddf Ddwyfol priodas;* a'r gair "santaidd" *cyfreithlon* yn yr un ystyr.

Y pwnc yr ymdrinia yr apostol âg ef yw, *y priodoldeb neu yr anmhriodoldeb i Gristion anfon ymaith ei briod paganaidd.* Dichon fod rhai o'r eglwys yn barnu y dylasai y brodyr a'r chwiorydd fwrw ymaith eu gwŷr neu eu gwragedd eilunaddolgar, fel y gwnaeth Israel ar ol eu dychweliad o Babilon fwrw ymaith y Cenedloedd a briodasent. (Ezra ix. x. Neh. xiii. 23—31.) Dedfryd Paul yw, nad ydyw Cristionogion i ymddwyn felly, o herwydd nid o dan ddeddf Moses y maent yn byw. Y rheswm a noda yw, fod y priod, er yn annghredadyn, wedi cael ei gyfreithloni i'w gyd-briod—"y gwr *trwy* y wraig," a'r "wraig *trwy* y gwr;" hyny yw, *yn rhinwedd y cyfammod a wnaethant â'u gilydd yn y cymmeriad o ŵr a gwraig.* "Pe amgen," os ydyw y briodas i gael ei thori fel peth annghyfreithlon, fe gollfernir y plant fel epil annghyfreithlon, ac ni ellir gofalu mwyach yn briodol am danynt—trychineb ag y mae pob calon ystyriol yn dychrynu rhagddo! Mae yr apostol yn cyhoeddi nad ydyw crefydd Crist yn creu y fath chwildroad annaturiol a hwn, ac yn galw am y fath galedi; yn hytrach, cyhoedda barhad ac uniondeb y fath undeb priodasol, a chyfreithlondeb y plant a enir o dan y fath amgylchiadau. Gallwn ychwanegu, gydag Albert Barnes, mai dyma yr unig esboniad cysson â'r cyssylltiadau.

---

*Groeg, *koinon;* yr hyn sydd i'w ddeall yma, ebe Dr. Robinson, "in the Levitical sense, 'not permitted by the Mosaic precepts,' and therefore *common,* not sacred; hence ceremonially *unlawful, unholy, profane.* Mark vii. 2. Acts x. 14. 28., &c."—*Dr. Ed. Robinson's Greek Lexicon.*

3. Dylid cofio hefyd nad ydyw y gair "plant" *(tekna)* i'w ddeall yn yr adnod hon yn gyfystyr â *babanod*, ond yn gosod allan *hiliogaeth* mewn modd cyffredinol heb gyfeirio at oedran, megys ag yn Act. ii. 39. Rhuf. ix. 7, 8, &c.

Gwna *Meyer*, yn ei Esboniad ar Act. xvi. 15, y sylwadau canlynol ar y pwnc dan sylw :—

"Appelir at yr adnod hon, ac Act. xviii. 8. a 1 Cor. i. 16, er profi yr arferiad o fedydd babanod yn yr oes apostolaidd, neu, o leiaf, er dangos ei debygolrwydd : ond yn ddisail."

"*Nad oedd bedydd babanod mewn arferiad y pryd hwnw*, a ymddengys yn amlwg oddiwrth 1 Cor. vii. 14. lle na allasai Paul ysgrifenu, 'Pe amgen, aflan *(akatharta)* yn ddiau fyddai eich plant, eithr yn awr santaidd *(hagia)* ydynt,'—pe buasai y plant mewn modd eglwysig yn santaidd trwy eu bedydd. Gan hyny, os oedd plant yn y teulu-oedd crybwylledig yn yr adnodau uchod, y rhai na allent gyrhaedd amgyffrediad ffydd trwy addysgiaeth, rhaid i ni benderfynu eu bod yn cael eu cau allan o'r bedydd, yr hwn a dderbyniodd aelodau ereill y teulu."

A Meyer yn mlaen i nodi pedwar o resymau yn erbyn y dyb o fodolaeth bedydd babanod yn yr oes apostolaidd :—

(1,) Na sonir yn un man yn y Testament Newydd am fedyddiad baban.

(2,) Fod bedydd heb addysg a ffydd yn beth heb engraifft o hono, ac yn groes i Mat. xxviii. 19.

(3,) Buasai y gwrthwynebiad boreuol a hir i fedydd babanod yn anesboniadwy, pe yr ystyriasid ef yn sefydliad apostolaidd.

(4,) Ei fod yn groes i athrawiaeth Paul am gyfiawnhad trwy ffydd.

Mae nodiadau Olshausen ar yr adnodau uchod i'r un pwrpas ag eiddo Meyer.

---

## § VII. PLANT YN YR EGLWYSI APOSTOLAIDD.

"A chwithau dadau, na yrwch eich plant i ddigio ; ond maethwch hwynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd." (Eph. vi. 4.)

Ymddengys oddiwrth Eph. vi. 1—4. a Col. iii. 20. fod plant yn eglwysi Colossa ac Ephesus ; ond er eu bod o dan arolygiaeth eu

rhieni, mae'n eglur eu bod yn blant crediniol. Yr oeddynt yn alluog i dderbyn addysg yr apostol yn ei Epistolau, yr hyn a ddengys nad babanod oeddynt; ac yr oedd yr apostol yn dwyn ystyriaethau a chymhellion crefyddol yn mlaen i argraffu ei gynghor ar eu calonau, yr hyn a ddengys eu bod yn gredinwyr.

1. Cyfarcha hwynt fel rhai yn Nghrist: "Y plant, ufyddhewch i'ch rhieni *yn yr Arglwydd*,"—fel rhai yn meddu rhan yn Nghrist.

2. Appelia at eu syniad am yr hyn sydd briodol a chrefyddol: "Canys hyn *sydd gyfiawn*."

3. Adgofia hwynt fod parch i rieni yn foddhaol iawn gan yr Arglwydd: "Canys hyn sydd yn *rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda*." (Col. iii. 20.)

Pan y gall plant weithredu oddiar gymhellion fel hyn, dylid eu bedyddio, a'u derbyn i blith pobl Dduw. Ond nid yw yr adnod dan sylw yn dysgu pa fodd y mae yr eglwys *fel eglwys* i ymddwyn at y plant: cyfarwyddyd i *aelodau unigol* ydyw, yn debyg i'r cyfarwyddiadau i feistriaid a gweision, ac i wŷr a gwragedd.

"Ysgrifenu yr wyf atoch chwi, dadau, am adnabod o honoch yr hwn sydd o'r dechreuad. Ysgrifenu yr wyf atoch chwi, wŷr ieuainc, am eich bod yn gryfion, a bod gair Duw yn aros ynoch, a gorchfygu o honoch yr un drwg. Ysgrifenu yr wyf atoch chwi, rai bychain, am i chwi adnabod y Tad," (Groeg, *oblegyd eich bod wedi adnabod y Tad*. 1 Ioan ii. 13.)

Gall fod y geiriau hyn yn cyfeirio at hynafgwyr crediniol, yn llawn o ddyddiau a phrofiad; ac at rai ieuengach, yn mlodau eu nerth ac addfedrwydd eu galluoedd, y rhai yn ngrym eu ffydd a thanbeidrwydd eu sêl, a gymmerent y blaen yn yr ymdrech yn erbyn teyrnas y tywyllwch; ac at ddychweledigion ieuainc a diweddar, y rhai mewn ffordd o anwyldeb a eilw efe yn "rai bychain," newydd gael eu mabwysiadu i deulu Duw. Defnyddia Ioan yr ymadrodd "rhai bychain," a "phlant bychain," am gredinwyr yn gyffredinol, o herwydd ei deimlad caredig tuag atynt, a'u bod yn gallu edrych ar y Goruchaf fel Tad iddynt. Yr oedd y rhai bychain yn yr adnod hon wedi adnabod y Tad, ac felly yn blant iddo trwy ffydd.

---

## § VIII. CYMMUNDEB GWRAGEDD.

Dywedir nad oes genym esiampl eglur o gymmundeb gwragedd; ac os ydym yn gallu rhoddi cymmundeb i wragedd heb orchymyn

nac esiampl, ar yr un tir y dylem roddi bedydd i fabanod heb y naill na'r llall.

Fe sylwir fod y fath wrthddadl yn cydnabod dystawrwydd y Testament Newydd ar y pwnc o fedydd babanod.

Ond y mae cymmundeb gwragedd crediniol yn cael ei ddysgu :—

(1,) Oblegyd fod y gair "*dyn*" yn y Beibl yn fynych yn cynnwys y ddau ryw yn ddiwahaniaeth. Gwel 1 Cor. xi. 28. Gal. vi. 7. Act. xvii. 30. Rhuf. ii. 16. iii. 28. 1 Tim. ii. 5. Heb. ix. 27.

(2,) Mae gwahaniaeth rhyw a chenedl wedi cael ei ddileu o dan yr efengyl. (Gal. iii. 28.)

---

# II. Y GWRTHDDADLEUON HANESYDDOL.

## § I. HANESIAETH EGLWYSIG A HYNAFIAETH BEDYDD BABANOD.

Tua chanol y drydedd ganrif y mae genym hanes gyntaf am fedydd babanod, a thywalltiad dwfr yn lle trochiad credinwyr mewn dwfr yn ol dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu. Gogledd Affrica, ebe Neander, oedd eisteddle cyntaf y cyfnewidiad hwn, yn ogystal a'r man lle y dechreuwyd gyntaf gymmundeb babanod. Yn awr, y mae cyfnewidiadau mawrion yn cymmeryd lle mewn dau gant a hanner o flynyddau. Cyn Cymmanfa Dduwinyddol Westminster, A.D. 1643—1648, trochiad oedd yr arferiad cyffredinol yn Lloegr; o fewn y ddau gant a hanner o flynyddau diweddaf y cyfododd y Trefnyddion Calfinaidd a Wesleyaidd, ac y sefydlwyd y Cymdeithasau Cenadol: os cymmerodd y fath gyfnewidiad le yn y cyfnod diweddar hwn, ai mawr yw, os cyfnewidiodd pethau o fewn yr un cyfnod yn yr amser gynt? Yr oedd dirgelwch yr anwiredd yn dechreu gweithio yn nyddiau Paul ei hun.

Yr achos o ddechreuad bedydd babanod, a chyfodiad taenelliad, oedd y dyb nad elai neb i'r nefoedd heb ei fedyddio; am hyny, os byddai perygl i'r baban neu un mewn oed farw, rhag i'w enaid golli, rhaid oedd ei fedyddio, a thywallt dwfr ar y claf ar ei wely! Priodolent i fedydd yr hyn a berthyn i waed Crist!

Dywedwn nas gellir profi bodolaeth bedydd babanod cyn y drydedd ganrif; awn yn mlaen i sylwi ar dystiolaeth yr ysgrifenwyr a dybir eu bod yn son am dano, a'r rhai a ddyfynir fynychaf fel yn profi ei darddiad apostolaidd.

### I. Justin Ferthyr: Athronydd ac Amddiffynydd Cristionogaeth. Ganwyd ef yn Samaria. Merthyrwyd ef yn Rhufain, A.D. 165.

Ystyrir gan bleidwyr bedydd babanod fod y frawddeg ganlynol yn cyfeirio at y ddefod:—"Mae llawer o wŷr a llawer o wragedd, 60 a 70 oed, y rhai o'u hieuengtyd a ddysgyblwyd (*ἐκ παίδων ἐμαθητεύθησαν*) i Grist, yn parhau yn ddilwgr." (Apol. I. 15.)

Yr hyn a gesglir oddiwrth y geiriau hyn yw, fod y rhai y cyfeiria Justin atynt wedi cael eu gwneyd yn ddysgyblion yn eu babandod, a hyny tua diwedd yr oes apostolaidd; a chan mai trwy fedyddio y mae gwneyd dysgyblion, o ganlyniad, yr oedd bedydd babanod mewn arferiad yn yr oes apostolaidd!

Ond nis gallwn dderbyn yr esboniad hwn ar y geiriau, oblegyd,—

1. Nid "*yn eu babandod*" yw ystyr *ek paidôn*, ond *o'u*, neu *er eu hieuengtyd.*

2. Nid dysgyblu trwy fedyddio yw ystyr *mathêteuo*, ond trwy *ddysgu.*

3. Pan yn son am fedydd, bedydd y crediniol yn unig a ddysga Justin.

Mae y dyfyniad canlynol o lythyr Irenæus at Florinus yn dangos meddwl y geiriau "*ek paidôn*," y rhai a gyfieitha taenellwyr "*o'u babandod:*"—

"Gwelais di," ebe Irenæus, "pan oeddwn eto yn FACHGEN (PAIS *eti ôn*), yn Asia Isaf, gyda Polycarp, yn ymsymmud mewn gwychder mawr yn y llys, ac yn ymdrechu yn mhob modd i ennill ei barch. Yr wyf yn cofio dygwyddiadau yr amser hyny yn llawer gwell na phethau diweddarach. Fel y mae *myfyrdodau ein hieuengtyd (hai gar ek paidôn mathêseis)*, gan gynnyddu gyda'n meddyliau, yn cael eu cyssylltu â hwy mor gadarn, fel y gallaf ddweyd hefyd y lle ei hun ar yr hwn yr oedd Polycarp fendigedig yn arfer eistedd a llefaru.......... Y pethau hyn, trwy drugaredd Duw, a'r cyfleusdra a fwynhawn y pryd hyny, a wrandewais yn ofalus, gan eu dodi ar lawr, nid ar bapyr, ond yn fy nghalon; a thrwy drugaredd Duw, yr wyf yn arfer adalw yr un pethau yn ffyddlawn i fy meddwl."—*Eusebius's Eccles. Hist., Lib.* v., *c.* xx.; *English Trans.* p. 233.

Yma, yr ydym yn canfod fod Irenæus yn *myfyrio*, *gwrando*, a *sylwi yn fanwl ar bethau,—ek paidôn*, nid *yn ei fabandod*, bid sicr, ond *yn ei ieuengtyd.* Ceir yr un geiriau *ek paidos* yn y LXX yn Gen. xlvi. 34. am *o'u hieuengtyd:* "Dy weision fuant drinwyr anifeiliaid *o'u hieuengtyd* hyd yr awr hon." Dywed Lucian "fod yr athronydd Demonax yn caru athroniaeth (*ek paidôn*) o'i ieuengtyd."

Cyfieithir y gair "*pais*" (plentyn, bachgen) weithiau yn y Testament Newydd yn *was*,—"Wele fy *ngwasanaethwr;*" "Dywedodd Herod wrth ei *weision*, hwn yw Ioan Fedyddiwr." (Mat. xii. 18. xiv. 2.) Yn Mat. xxi. 15. defnyddir y gair *pais* i osod allan y plant a floeddient "Hosanna i Fab Dafydd." Yn Luc ii. 43. cymhwysir ef at y bachgen *(pais)* Iesu, pan yn ddeuddeg oed. Yn Act. xx. 12. defnyddir ef i osod allan y gwr ieuanc Eutychus, yr hwn a syrthiodd o'r ffenestr pan oedd Paul yn pregethu. Defnyddir y gair *pais* yn fynych iawn yn Herodotus a Xenophon am fechgyn o 10 i 20 oed; wele ychydig o engreifftiau:—

"Pan oedd y bachgen (*pais*) yn ddeg oed, darfu i'r amgylchiad canlynol ei ddadguddio." (*Herodotus, B.* i. 114.)

"Dysgant hefyd i saethu â bwa, ac i daflu y waewffon. Mae y bechgyn (*paides*) yn dilyn yr ymarferiadau hyn, nes y maent yn 16 neu 17 oed, pan yr ânt i ddosbarth y gwŷr ieuainc. Mae y gwŷr ieuainc yn treulio eu hamser fel hyn. Am ddeng mlynedd ar ol iddynt fyned o ddosbarth y bechgyn (*ek paidôn*), treuliant y nosweithiau o amgylch y cynteddoedd," &c. (*Xenophon's Cyropædia. B.* i. *ch.* 2. 8, 9.)

"Mi a draethaf yn awr orchestion Cyrus, er mwyn yr hwn yr ymgymmerwyd â'r hanes, gan ddechreu o'i ieuengtyd (*apo paidos*), (hyny yw, o 12 mlwydd oed)." (*Xenophon's Cyropædia. B.* i. *ch.* ii. 16. *chap.* iii. 1.)

Ystyr y geiriau, gan hyny, ydyw, "y rhai a ddysgyblwyd i Grist o'u hieuengtyd,"—a hyn a raid iddynt olygu, gan fod y meddylddrych o ddysgu yn y ferf *mathêteuo*. Gwel tudal. 198.

Dywed Dr. Doddridge y dichon nad ydyw geiriau Justin yn golygu mwy na'u bod wedi cael eu dysgu yn foreu yn y grefydd Gristionogol.—*Lecture* cciv. 3.

Pwy, gan hyny, yw deiliaid bedydd, yn ol Justin Ferthyr? *Credinwyr*. Dyma ei ddesgrifiad o fedydd:—

"Hwy, y rhai a berswadir, ac a gredant fod y pethau hyny a ddysgir genym ni yn wirionedd, ac a addawant fyw yn eu hol, a gyfarwyddir yn gyntaf i weddio, a gofyn i Dduw am faddeuant o'u pechodau dan ymprydio; ac yr ydym ninnau hefyd yn gweddio ac yn ymprydio gyda hwy. Yna yr ydym yn eu harwain i'r lle mae dwfr; ac y maent yn cael eu haileni yr un modd ag y cawsom ninnau ein haileni; oblegyd y maent yn cael eu baddio mewn dwfr, yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân." (*Apology* i. 61.)

Pobl wedi eu perswadio i gredu, pobl yn ymprydio a gweddio, oedd deiliaid bedydd yn ol Justin Ferthyr.

II. Irenæus: Esgob Lyons yn Ffrainc. Bu farw A.D. 202.

Dywedir fod gwaith Irenæus yn profi bodolaeth bedydd babanod yn ei amser ef. Yr unig beth yn Irenæus ag sydd yn rhoddi rhith o sail i'r dyb hon, yw y geiriau hyny o'i eiddo, lle y dywedir fod Crist "wedi dyfod i achub pawb drwyddo ef ei hun; pawb meddaf, oblegyd *trwyddo ef*, *hwy a ailenir i Dduw*, *(qui per eum renascuntur in Deum*,) babanod, a rhai bychain, a phlant, a rhai ieuainc, a hen bobl."—*The Writings of Irenæus*, (Edinburgh: Clark,) vol. i. pp. 119. 200. (Against Heresies, B. ii. ch. xxii. 4.) Gyda golwg ar y geiriau uchod, gellir sylwi,

1. Nad oes genym ond cyfieithiad Lladinaidd o waith Irenæus, lle y dygwydda y geiriau hyn; a thybia rhai beirniaid fod y lle hwn

yn ffugiol; dyna oedd barn Cardinal Baronius. Yn y rhan gyntaf o'r bennod lle y dygwydda y geiriau hyn, dywedir fod dyoddefiadau Crist wedi cymmeryd lle pan oedd yn 33 oed; ond honir yn niwedd y bennod ei fod wedi byw hyd 50 oed. Ni fuasai Irenæus ei hun yn gwneyd y fath gamgymmeriad.

2. Addefir ar bob llaw nad ydyw y gair aileni yn *wastadol* yn ei ysgrifau yn golygu bedydd; ond nid yw y geiriau "*aileni trwy Grist i Dduw,*" yn *un man* yn golygu bedydd. Mae yr aileni hwn TRWYDDO EF, ac nid *trwy fedydd.*

3. Mae esbonio y gair "aileni" yn y dyfyniad i olygu *bedyddio*, yn awgrymu yr hyn sydd gyfeiliornus ac anmhossibl.

Nis gellir credu fod Irenæus yn golygu dysgu fod Crist wedi dyfod i achub pob rhagrithiwr, yn unig am ei fod yn fedyddiedig; neu fod babanod ag sydd yn marw yn eu babandod, neu gredinwyr difedydd, a saint Duw o dan yr Hen Destament, yn golledig, yn unig am nad oeddynt wedi eu bedyddio. Rhaid, gan hyny, i ni briodoli ystyr arall i "aileni" yn y dyfyniad, sef adferiad ac achubiaeth y teulu dynol trwy gyfryngdod yr Arglwydd Iesu Grist.

4. Gan nas gellir profi *puredd* y geiriau hyn, nid ydynt o un gwerth pe y golygent fedydd babanod; ond pe byddai awduriaeth Irenæus iddynt yn ddiammheuol, gan nad yw eu cyfeiriad at fedydd mewn un modd yn sicr, ond fod y tebygolrwydd cryfaf i'r gwrthwyneb, y maent ar y tir hwnw hefyd yn ddiwerth. (*Doddridge's Lectures*, cciv. 2. *Gale's Refl.*, *Lett.* xii. *The Writings of Irenæus, vol.* i. p. xvii. *Edinburgh: Clark.*)

Yn y cyssylltiad lle y defnyddir y geiriau, nid oes yr un cyfeiriad at fedydd. Golyga y geiriau "aileni trwy Grist i Dduw," yn Irenæus, adferiad dyn drwy Iesu Grist. Yn yr ystyr yma, sonia fod y Patriarchiaid wedi cael eu haileni i Dduw trwy ymgnawdoliad Crist. Yn yr ystyr yma y deallir y geiriau gan brif ysgolheigion y byd: gwel *Hinton on Baptism*, chap. vii. sect. v. Pan y sonia am fedydd, crybwylla am dano fel peth cyssylltiedig â ffydd, ac yn *canlyn* ailenedigaeth: megys "bedydd ailenedigaeth," hyny yw, bedydd ag yr oedd ailenedigaeth yn gymhwysder iddo, yn debyg i'r ymadrodd "bedydd edifeirwch"—bedydd i'r hwn yr oedd edifeirwch yn gymhwysder. (Marc i. 4.)—*Against Heresies*, B. iii. chap. 17.

"Yn ol Irenæus," ebe Dr. Chase, "darfu i Grist wrth ymgnawdoli, ac fel hyn gymmeryd arno ei waith cyfryngol, ddwyn y teulu dynol i berthynas newydd, o dano ei hun, a'u dodi hwy mewn sefyllfa yn yr hon a gallant gael eu hachub. Yn yr ystyr yma, efe yw Achubwr pawb. Efe a'u hadferodd, neu a'u crynhôdd o newydd, ynddo ei

hun. Efe a ddaeth, mewn dull o ddweyd, yn ail Adda, adferwr yr hil ddynol. Trwyddo ef hwy a ailenir i Dduw; *per eum renascuntur in Deum.*"

"Mae yr adnodau o'r Beibl y rhai a dybir sydd yn awgrymu fod bedydd babanod wedi dyfod i arferiad yn yr eglwys gyntefig (ebe Hagenbach), yn ammheus, ac nid ydynt yn profi dim: sef Marc x. 14. Mat. xviii. 4. 6. Act. ii. 38, 39. 41. x. 48. 1 Cor. i. 16. Col. ii. 11, 12. Nid ydyw yr ymadrodd (*passage*) cyntaf ag sydd yn dygwydd yn ysgrifeniadau y Tadau (*Irenæus Adv. Haer.* ii. 22. 4.), ychwaith yn cynnwys un prawf diammheuol. Nid ydyw ond yn unig yn gosod allan y meddylddrych prydferth fod Crist yn Waredwr *yn* mhob adeg o fywyd, ac *i* bob adeg o fywyd; ond ni ddywedir ei fod wedi gwaredu plant *trwy ddwfr y bedydd*, oddi eithr i'r gair RENASCI (*aileni*) gael ei esbonio trwy gymmeryd yn ganiatâol yn y modd mwyaf trawsarglwyddol ei fod yn cyfeirio at fedydd."—*Hagenbach's History of Doctrines*, vol. i. pp. 193, 194. (Edinburgh, 1846.) Gwel yn mhellach Dr. Chase, on the phrase "Regenerated unto God," in *Baptismal Tracts for the Times.* Boston, U.S., 1858; Dr. Gill's *Infant Baptism an Innovation*, pp. 14—20.

## III. Clement o Alexandria: Pregethwr, ac Awdwr. Blodeuai A.D. 200—220.

Dywedir wrthym fod Clement o Alexandria yn dysgu y dylai pysgotwyr gael ar eu modrwyau "lun apostol yn bedyddio baban." Ond ni ddywedodd Clement erioed y fath beth. Geiriau Clement ei hun yw y rhai hyn:—"Ac os oes rhywun yn bysgotwr, cofied am apostol, ac am y plant yn cael eu codi o ddwfr." (*Dr. Wall, vol.* i. p. 84.*) Nid oes son am fedyddio ynddynt. Gallant gyfeirio, o ran dim a ddywedir, at waith y fam gartref yn golchi y plant, a'u cyfodi o'r dwfr.

Yr oedd Clement ei hun yn cyssylltu bedydd â ffydd, fel y dengys y dyfyniad canlynol:—

"Y mae y rhwymau hyn yn cael eu datod yn ebrwydd, *drwy ffydd yn wir ar ran y dyn, ond drwy ras ar ran Duw;* symmudir ein pechodau drwy un feddyginiaeth iachâol, BEDYDD, *yn cael ei dderbyn gyda meddwl cyfaddas,*" (*logikô baptismati. The Pedagogue, B.* i. *c.* 6.)

---

* Sylw Neander ar eiriau Clement yw hwn:—"If any one were inclined to prove the existence of infant baptism from the passage of Clemens Alexand. Pedag. iii. 247. *ex hudatos anaspômenôn paidiôn*, which certainly relates to baptism, we might remark that this is hardly to be considered any proof, for as the notion of the *Theios paidagôgos* was present to the imagination of Clemens, he might call all Christians *paidia.* But he is undoubtedly here speaking of conversion and regeneration, in reference to all mankind." (*Neander's Hist. vol.* i. *sect.* iii.)

### IV. Tertullian o Carthage, Affrica: Dadleuydd, Pregethwr, ac Awdwr. Bu farw oddeutu A.D. 220.

Dywedir fod Tertullian yn nechreu y drydedd ganrif yn gwrthwynebu bedydd babanod, *yr hyn, o ganlyniad, sydd yn profi bodolaeth bedydd babanod ar y pryd.* Cydnebydd Dr. Ripley, yn ei Adolygiad ar Ddarlithiau Dr. Leonard Woods ar Fedydd Babanod, fod y casgliad yna yn deg, *mor bell ag a wnelai y pwnc âg Affrica*, ond nid âg Asia Leiaf, nac â Gogledd Affrica yn gyffredinol. (*The Christian Review, Oct.*, 1851, p. 520.) Dodwn yma sylwadau Neander ar y pwynt:—

"Yn union ar ol Irenæus, yn mlynyddau diweddaf yr ail ganrif, ymddengys Tertullian yn wrthwynebydd penderfynol i fedydd babanod; *yr hyn sydd yn brawf nad oedd yr arferiad wedi dyfod eto i gael ei ystyried fel sefydliad apostolaidd:* pe amgen, ni fuasai efe yn meiddio llefaru mor gryf yn ei erbyn. Canfyddwn oddiwrth ei reswm ef yn erbyn bedydd babanod, fod ei bleidwyr yn appelio yn barod at Mat. xix. 14.—adnod ag y byddai yn naturiol i bob un ei chymhwyso yn y dull hwn. 'Ni ddarfu i'n Harglwydd geryddu y plant bychain, ond efe a orchymynodd iddynt gael eu dwyn ato fel y bendithiai efe hwynt.' Cynghora Tertullian, o dan yr ystyriaeth o bwysigrwydd mawr yr amgylchiad, ac o'r parotoad anghenrheidiol o du yr ymgeisydd, y dylai bedydd, fel rheol, gael ei ohirio yn hytrach na'i weinyddu yn anamserol, a chymmer y cyfleusdra i ddadgan ei fod ef ei hun yn hynod o wrthwynebol i frys yn medydd plant (*parvulos*). Mewn atebiad i'r wrthddadl a dynid oddiwrth eiriau Crist, efe a ddywed:—'Bydded iddynt ddyfod wrth dyfu i fyny; deuant pan y maent yn dysgu, pan yr hyfforddir hwynt i ba beth y maent yn dyfod; bydded iddynt ddyfod yn Gristionogion pan y gallant adnabod Crist. Y fath frys i gyrhaedd maddeuant o bechodau i oes ddiniwaid! Yr ydym yn dangos mwy o ddoethineb wrth drafod pethau bydol, nag yr ydym wrth ymddiried y trysor Dwyfol i rai nas gellir ymddiried iddynt am feddiant daearol. Dysgant yn gyntaf eu hanghen am iachawdwriaeth; fel yr ymddangosom i roddi i rai sydd arnynt eisieu.' Mae yn amlwg fod Tertullian yn golygu, y dylid dwyn plant at Grist trwy eu dysgu mewn Cristionogaeth; ond na ddylent dderbyn bedydd, hyd nes y byddont, oddiar addysg ddigonol, a chydag argyhoeddiad personol, a dewisiad gwirfoddol, yn ei geisio gyda chalon bur a didwyll."—*Church History, vol.* i. *sect.* iii.

Mae yn eglur oddiwrth eiriau Tertulian ei fod yn ystyried y gwaith o fedyddio plant heb ond ychydig o hyfforddiant, ac heb un prawf o gyfnewidiad ysbrydol, yn lygriad ar grefydd Crist, ac yn newyddbeth yn yr eglwysi; ac fel cyfaill i'r gwirionedd, efe a gyfodai ei lef yn ei erbyn.

Ymddengys yn fwy tebygol, modd bynag, mai gwrthsefyll y gwaith o fedyddio plant *(parvuli)* yr oedd Tertullian, yn hytrach na babanod

newydd eu geni.* Nid oeddid eto wedi syrthio mor isel a hyny. Yn mhen rhyw ddeng mlynedd ar hugain ar ol hyn, cawn Gymmanfa Carthage yn penderfynu bedyddio babanod wyth niwrnod oed, a than hyny.

Yn ol dysgeidiaeth Tertullian, yr oedd y rhai bedyddiedig "i weddio yn fynych, ymprydio, gwylio, a chyffesu eu pechodau; fel y byddai iddynt wneyd o leiaf gymmaint ag a wneid yn medydd Ioan: '*Hwy a fedyddiwyd, gan gyffesu eu pechodau.*'"—*De Baptismo, Chap.* 20. *Dr. Wall's Hist, vol.* ii. pp. 383, 384.

### V. Origen: Gweinidog a Duwinydd yn Alexandria. Bu farw A.D. 254.

Ystyrir Origen gan rai awdwyr yn awdurdod uchel dros hynafiaeth bedydd babanod. Dyfynir y tystiolaethau canlynol o'i weithiau:—

"Heblaw hyn oll, ystyrier, pa beth yw y rheswm, gan fod bedydd yr eglwys yn cael ei roddi er maddeuant pechodau, fod plant (*parvulis*) hefyd *yn ol arferiad yr eglwys* yn cael eu bedyddio; pan, pe na byddai dim mewn plant (*parvulis*) yn gofyn am faddeuant a thrugaredd, byddai y gras o fedydd yn ddifudd iddynt."—*Homili* viii. *ar Lefiticus*, xii.

"Y mae plant (*parvuli*) yn cael eu bedyddio er maddeuant pechodau. Pa bechodau? neu pa bryd y pechasant? neu pa fodd y gall unrhyw reswm o'r golchiad yn eu hachos hwy, ddal yn dda, ond yn ol yr ystyr hwnw a grybwyllasom ni yn awr, sef *nad oes neb yn rhydd oddiwrth halogedigaeth, er na byddo ei fywyd ar y ddaear ond un diwrnod?* Ac am y rheswm hwnw, sef mai trwy y sacrament o fedydd y mae halogrwydd ein genedigaeth yn cael ei gymmeryd ymaith, y bedyddir plant (*parvuli*)."—*Homili* xiv. *ar Luc.*

"O herwydd hyn y derbyniodd yr eglwys *oddiwrth yr apostolion draddodiad* (neu orchymyn) *i roddi bedydd* hyd y nod i blant (*parvulis*); canys yr oeddynt hwy, i ba rai y traddodasid y dirgelion Dwyfol, yn gwybod fod halogedigaeth naturiol pechod yn mhawb, yr hwn y

---

* "Tertullian's opposition is to the baptism of young, growing children; he does not say one word about new-born infants. Neither does Origen, when his expressions are accurately weighed." "I think that we are at this moment better able than either the defenders or the opponents of Infant Baptism have hitherto been, to explain how it originated. A passage in an Alexandrian Church book gives the true explanation, and it removes the origin of Infant Baptism from Tertullian and Hippolytus, to the time of Cyprian, he being the first Father who, impelled by a fanatical enthusiasm, and assisted by a bad interpretation of the Old Testament, established it as a principle. Pedobaptism, in the more modern sense, meaning thereby baptism of new-born infants, with the vicarious promises of parents or other sponsors, was utterly unknown to the early church, not only down to the second, but indeed to the middle of the third century."—Bunsen's "Hippolytus and his Age," vol. ii. p. 106, 113—115.

mae yn rhaid ei symmud ymaith trwy ddwfr a thrwy yr Ysbryd Glân."—*Esboniad ar y Rhufeiniaid. Llyfr* v.

Mae amryw bethau i'w cadw mewn cof o barthed i'r dyfyniadau hyn o Origen :—

1. Nid yw y dyfyniadau uchod ar gael yn y Groeg, yn mha iaith yr ysgrifenodd Origen hwynt, ond yn y Lladin yn unig, i'r hon y cyfieithwyd hwynt yn agos i ddiwedd y bedwaredd ganrif.

Cyfieithwyd yr Homiliau ar Luc gan Jerome, a'r rhai ar Lefiticus a'r Rhufeiniaid gan Ruffinus.

2. Mae yn ffaith addefedig fod y cyfieithwyr hyn wedi gwneyd cyfnewidiadau mawrion yn ngwaith Origen, yn ol eu barn a'u chwaeth eu hunain.

Tystia Jerome fod Ruffinus wedi newid gwaith Origen ar athrawiaeth y Drindod a phynciau ereill; ac o herwydd y llygriadau a'r ychwanegiadau yn y gwaith, dywed Jerome y dylasai Ruffinus alw ei gyfieithiad o Esboniad Origen ar y Rhufeiniaid, yn "Esboniad Ruffinus ar yr Epistol at y Rhufeiniaid;" tra yr ateba Ruffinus, o'r ochr arall, nad oedd efe wedi gwneyd yn amgen na dilyn esiampl Jerome yn hyn. Sylwai Erasmus yn ddigllon ar gyfieithiad Ruffinus o waith Origen, na wyddid yn sicr pa un ai yr awdwr ai y cyfieithydd a fyddai yn annerch y darllenydd. (Gwel *Doddridge's Lectures*, cciv. 5. *The Writings of Origen*, vol. i. Edinburgh: Clark, pp. vi—xiv. *Infant Baptism*. By Irah Chase, D.D. Philadeiphia, 1863. Pp. 192—219.)

Mae yn hollol bossibl, ac y mae yn dra thebygol, gan hyny, mai ychwanegiadau diawdurdod at waith Origen yw y dyfyniadau blaenorol a dadogir iddo gan amddiffynwyr bedydd babanod.

3. Pe byddai y dyfyniadau yn ddilwgr, a'r cyfieithiad yn gywir, ni phrofent fodolaeth foreuol bedydd babanod, oblegyd golyga y gair *parvuli*, mae yn debygol, fel y sylwa Dr. Bunsen, blant o chwech i ddeng mlwydd oed, ac nid babanod. (*Hippolytus and his Age*, vol. ii. p. 114.)

Yn nghyfieithiad Jerome o Homili xix. o eiddo Origen ar Luc, ceir y gair *parvulus*, ac yn wir y gair *infans* am yr Iesu pan oedd yn ddeuddeg mlwydd oed. "Yr oedd yn anmhossibl iddi hi (Mair) ofni fod y plentyn (*infans*) wedi ei lwyr golli. Ond pan oedd efe yn fachgenyn (*parvulus*), fe'i cafwyd ef yn nghanol y doctoriaid, yn eu santeiddio hwynt a'u trwytho â gwybodaeth."

4. Nid oedd "traddodiadau apostolaidd" yr eglwysi yn yr ail a'r drydedd ganrif, ond o ychydig werth.

Yr oedd pob peth a ystyrid yn bwysig yn yr oes hòno, ebe Neander, (*Church Hist. vol.* i. *section* iii.) wedi deilliaw oddiwrth yr apostolion. Fe sylwa y darllenydd na cheisir yn y dyfyniadau hyn roddi awdurdod uwch i fedydd babanod na thraddodiad apostolaidd. Ni cheisir ei brofi o'r Ysgrythyr.

5. Pan y cyfeiria Origen, yn y darnau gwreiddiol o'i waith sydd ar gael, at fedydd rhai ieuainc, bedydd plant yn gallu meddwl, deall, ac amgyffred sydd ganddo mewn golwg, ac nid bedydd babanod yn yr ystyr gyfyngaf.

Mae yr ymadrodd canlynol o eiddo Origen, yn dangos na wyddai efe am *fedydd babanod* fel y cyfryw, ond am fedydd plant ddigon hen i ymarferyd ffydd yn Nghrist, ac i gael eu haddysgu yn egwyddorion yr efengyl. Mae yr ymadrodd dan sylw wedi cael ei drosglwyddo i ni yn Ngroeg gwreiddiol Origen ei hun, ac nid trwy gyfieithiad penrhydd Ruffinus a Jerome o'i weithiau. Gwrthddadleuai Celsus yn erbyn Cristionogaeth am ei bod yn gwahodd pawb,—"y pechadur," "yr anwybodus," "y plentyn" (*nêpios*), "pob creadur truenus a dirmygus." Atebai Origen:—

"Yr ydym yn annog pechaduriaid i ddyfod at yr addysg sydd yn eu dysgu i beidio pechu; a'r anwybodus at yr hyn a gynnyrcha ddealltwriaeth ynddynt; *a'r plant bychain* (*nêpioi*) *i ymddyrchafu yn eu meddwl i'r dyn*.........A phan y mae y rhai hyny o'r rhai a gymhellir ag *sydd yn gwneyd cynnydd yn dangos eu bod wedi cael eu glanhau drwy y gair, ac mor bell ag y gellir, wedi byw bywyd gwell,* YNA *yr ydym yn eu cymhell i gymmeryd eu cyssegru* (to be initiated) *i'n plith*."

Yn ol geiriau Origen *ei hun*, (ac nid yn ol y cyfieithiad llygredig o'i ysgrifau,) yr oedd y "*plant bychain*" i gael eu dysgu, ac i roddi prawf o gyfnewidiad buchedd, cyn y caent eu bedyddio. Graddol y daeth bedydd babanod i mewn. Yn amser Tertullian, gogwyddid at fedyddio *plant;* yn amser Origen, yr oeddid *yn* bedyddio *plant;* yn amser dylanwad Cyprian, yr oeddid yn syrthio yn Affrica i'r arferiad o fedyddio *babanod*, a chynnelid Cymmanfa neu Gynghor o Esgobion i benderfynu *adeg* eu bedyddiad!

Nid ydyw y gair *nêpios* o anghenrheidrwydd yn golygu *baban*, ond yn hytrach un *ieuanc*, fel y dengys yr engreifftiau canlynol:—"O enau *plant bychain* (*nêpiôn*) a rhai yn sugno, y perffeithiaist foliant," (Mat. xxi. 16.) lle y cymhwysir ef at y plant a lefent yn y deml, "Hosanna i fab Dafydd." "Pan oeddwn fachgen" (*nêpios*), ebe Paul, "fel bachgen (*nêpios*) y llefarwn, fel bachgen (*nêpios*) y deallwn, fel bachgen (*nêpios*) y meddyliwn," (1 Cor. xiii. 11.) lle y cymhwysir ef at un yn *llefaru*, *deall*, a *meddwl*. Ni wyddai Origen, ynte, am

20

fedydd *babanod*, ond bedydd *plant ieuainc*. Y mae *Text Book* eglwys Alexandria, ebe Bunsen, yn amser Origen, i ba un yr oedd efe yn henadur, yn dangos yn amlwg mai *plant*, ac nid *babanod*, a olygai Origen pan yn son am fedydd rhai ieuainc, oblegyd sonia y *Text Book* crybwylledig am "y rhai hyny a *aent i lawr gyda'r* rhai egwyddoredig (*catechumens*) *ereill* i'r ymdrochle fedyddiol, ond nad oeddynt eto mewn cyflwr i roddi atebion *priodol;* yn mha amgylchiad, yr oedd y rhieni yn rhwym o wneyd drostynt."—*Hippolytus and his Age*. By Dr. Bunsen. London, 1854. Vol. ii. p. 114.

Yn Ngroeg gwreiddiol Origen ei hun, ceir amryw nodiadau ag sydd yn dangos mai dynion yn credu ac yn edifarhau, ac yn ymgyflwyno yn wirfoddol i Dduw, oedd deiliaid priodol bedydd yn ol ei farn ef.

"Dylid sylwi," eb efe ar Mat. xix. 14., "fod y pedwar efengylwr yn dweyd fod Ioan yn cydnabod mai i fedyddio mewn dwfr y daethai efe; Matthew yn unig yn ychwanegu *i edifeirwch;* gan ddysgu mai efe, *yr hwn sydd yn cymmeryd ei fedyddio o'i ewyllys a'i ddewisiad ei hun*, sydd yn derbyn budd bedydd."

"Mae y baddiad trwy ddwfr yn arwyddlun o buredigaeth yr enaid sydd wedi ei lanhau oddiwrth aflendid anwiredd; er hyny y mae hefyd ynddo ei hun yn ddechreuad ac yn ffynnonell grasusau Dwyfol, o herwydd nerth galwad ar y Drindod addoladwy, *i'r hwn sydd yn rhoddi ei hun i fyny i'r Duwdod* (εμπαρεχοντι ἑαυτον τῃ θειοτητι)."—*Dr. Gill's Infant Baptism an Innovation. London*, 1753. pp. 28, 29.

## VI. Cyprian: Esgob Carthage, Affrica. Merthyrwyd ef A.D. 258.

Cawn gyfeiriadau eglur a diammheuol at fedydd babanod yn hanes Cyprian. Yn ol yr hanesydd enwog Neander, yn Affrica y dechreuodd bedydd babanod; ac ar y dechreu, gofynid llawer o bethau yn ei gylch. Yr oedd Cyprian yn awdurdod yn mhlith ei frodyr ar newydd-bethau, ond nis gallai benderfynu pwnc bedydd babanod, heb ymgynghori â gweinidogion ereill.

Anfonodd gweinidog neu esgob o'r wlad, o'r enw Fidus, at Cyprian yn nghylch dau beth ag y dymunai gael ei farn arnynt, sef yn achos un henadur o'r enw Victor, ag oedd, yn ei farn ef, wedi cael ei godi yn rhy fuan i'r weinidogaeth ar ol cwymp; ac yn nghylch pa ddiwrnod ar ol genedigaeth babanod y dylid eu bedyddio. Ystyriai Fidus na ddylid eu bedyddio cyn y byddent yn wyth niwrnod oed, am nad oedd yn beth cynhesol i gusanu baban bach newydd gael ei eni. Ai "hen lanc" oedd Mr. Fidus, tybed?

Dodwn yma dalfyriad o ateb Cyprian, gan gynnwys y darnau ag sydd yn ymwneyd yn uniongyrchol â'r pwnc. Galwodd Cyprian

yn A.D. 252, Gynghor o 66 o esgobion i ystyried y mater, ac fel hyn yr ysgrifena yn nghylch eu penderfyniad:—

"Gyda golwg ar achos babanod. Tra y barnech chwi na ddylid eu bedyddio hwynt am ddau neu dri diwrnod ar ol iddynt gael eu geni, ac y dylid cadw deddf yr enwaediad, fel na fyddai i neb gael ei fedyddio na'i santeiddio cyn yr wythfed dydd ar ol ei enedigaeth; yr oeddym ni oll yn ein Cynghor o feddwl gwahanol. Barnem oll na ddylid attal gras Duw oddiwrth un dyn ag sydd wedi cael ei eni. Oblegyd yn gymmaint ag i'n Harglwydd ddweyd yn ei efengyl, 'Ni ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw:' *mor bell ag y mae ynom, nid oes un enaid, hyd y gellir, i gael ei golli.*

Ac yn gymmaint a'ch bod yn dweyd fod baban y diwrnodau cyntaf ar ol iddo gael ei eni, yn aflan, fel y gwnelai pob un o honom ffieiddio ei gusanu; nid ydym yn ystyried fod hyn ychwaith yn rheswm i rwystro cyfranogiad y gras nefol, oblegyd ysgrifenwyd, 'I'r pur, pob peth sydd bur;' ac ni ddylai neb o honom ffieiddio yr hyn yr ymddarostyngodd Duw i'w wneuthur. Er mai newydd ddyfod o'r groth y mae y baban, ni ddylai neb ffieiddio ei gusanu ar roddiad y gras a chydnabyddiaeth brawdgarwch.

Os gallai un peth fod yn rhwystr ar ffordd dynion i dderbyn y gras, dylid attal dynion wedi tyfu i fyny ac mewn oedran, o herwydd eu pechodau mwy anfad. Os yw y troseddwyr mwyaf, gan hyny, a'r rhai a bechasant yn fwy anfad yn erbyn Duw o'r blaen, yn derbyn ar ol hyny faddeuant pechodau trwy ffydd, ac nad oes yr un o honynt yn cael ei gadw oddiwrth fedydd a gras; *pa faint llai o reswm sydd dros gadw y baban yn ol, yr hwn, gan mai newydd gael ei eni ydyw, nis gall fod wedi pechu,** ond yn unig ei fod wedi dwyn gydag ef trwy ei ddisgyniad oddiwrth Adda, lygredd yr hen farwolaeth." (*Cyprian's Epistles*, 59. *Dr. Wall's History of Infant Baptism, vol.* i. pp. 126—132. *Neander's Church History, vol.* i. *section* iii.)

Gyda golwg ar y dyfyniad uchod o lythyr Cyprian, dymunwn sylw y darllenydd at y pethau canlynol:—

1. Mai "dynion wedi tyfu i fyny ac mewn oedran," ac yn "derbyn maddeuant pechodau trwy ffydd," a fedyddid fel rheol; a bod bedydd babanod yn beth newydd, neu pa eisieu Cynghor i drefnu adeg ei weinyddiad?

---

* Fe welir mai *diniweidrwydd* y baban yw un o resymau Cyprian a'r 66 o esgobion dros ei fedyddio. Teimlid gwendid y rheswm hwn cyn hir; ac erbyn dyddiau Awstin, bedyddid babanod o herwydd eu pechadurusrwydd, gweithredol neu ddeilliedig, a'r perygl cyssylltiedig â hyny! Cymharer y dyfyniadau a briodolir i Origen, a phenderfyniad Cynghor Milevi, A.D. 416. Fe welir hefyd fod y rheswm hwn yn gwrthdaro yn erbyn rheswm blaenorol Cyprian, sef *y dylid bedyddio y baban rhag colli ei enaid!*

2. Ei fod wedi cael ei sylfaenu ar y dyb nad oedd modd achub enaid hebddo.

3. Na cheisir ei brofi fel peth ysgrythyrol.

4. Na sonir am dano mewn un Cynghor o flaen Cynghor Carthage.

5. Ei fod yn y drydedd ganrif yn cael ei gyfyngu yn unig i Affrica.

6. Fel prawf nad oedd bedydd babanod yn gyffredinol yn y ganrif hon a'r un ddilynol, cofier, fod *Ambrose* wedi ei eni o rieni Cristionogol, ac na fedyddiwyd ef nes y dewiswyd ef yn esgob Milan; *Jerome* wedi ei eni o rieni Cristionogol, ond yn ddeg ar hugain oed pan fedyddiwyd ef; *Awstin*, er fod ganddo fam dduwiol, oedd yn 33 oed pan fedyddiwyd ef; *Gregory Nazianzen*, wedi ei eni o rieni Cristionogol, a'i dad yn esgob, oedd yn ddeg ar hugain oed pan fedyddiwyd ef;* *Chrysostom*, wedi ei eni o rieni Cristionogol, oedd yn un ar hugain oed pan fedyddiwyd ef. (*Baptist Mag.*, 1825, p. 68. *Orchard's History of the Baptists*, pp. 47, 48.)

7. Fod Cyprian, fel y dywed Dr. Doddridge, yn rhoddi yr un awdurdod i gymmundeb babanod ag i fedydd babanod; ac os derbynir un o honynt fel peth Dwyfol, am fod Cyprian yn ei awdurdodi, dylid derbyn y ddau; ond os gwrthodir un fel newydd-beth, y dylid hefyd wrthod y ddau. (*Doddrige's Lectures*, cciv. 6. *Neander's Ch. Hist. vol.* i. *sect.* iii.)

8. Ni sefydlwyd bedydd babanod drwy gyfraith hyd y flwyddyn 416, mewn Cynghor Affricanaidd yn Milevi, Numidia, yn yr hon y llywyddai Awstin. Math o ddealltwriaeth, rhyddid, neu gyfarwyddyd fod i'r gweinidog fedyddio babanod mor ieuainc ag y dymunai, oedd penderfyniad Cynghor Carthage, A.D. 252; ond yn Nghynghor Milevi, A.D. 416, fe sefydlwyd bedydd babanod trwy awdurdod i fod yn un o ddeddfau rheolaidd yr eglwys o hyny allan.

---

* Mae yn anhawdd deall pa fodd y gallesid gochelyd bedyddio Gregory Nazianzus yn ei fabandod, os oedd bedydd babanod yn arferiad cyffredinol yn Asia Leiaf yn y bedwaredd ganrif, oblegyd "fe'i cludwyd ef," ebe Neander, "yn fuan wedi iddo gael ei eni, at allor yr eglwys, lle y rhoddasant gyfrol o'r efengylau yn ei ddwylaw, ac y cyflwynasant ef i wasanaeth yr Arglwydd." (*Neander's Church History, vol.* ii. *sect.* iii. i. *Christian Life.*)

Pe buasid yn arfer â bedyddio babanod yn y wlad hono, diau na fuasai Gregory yn eithriad. Ganwyd Gregory A.D. 324, yn Nazianzum, Cappadocia, a bu farw A.D. 389.

Pan yn ysgrifenu yn erbyn y Donatiaid cyn cynnaliad y Cynghor hwn, cydnabyddai Awstin nad ydoedd bedydd babanod, (er fod yr eglwys, eb efe, yn wastad yn ei arfer, ac yn barnu yn gywir yn ol ei dyb ef, pan yn credu ei fod o darddiad apostolaidd) erioed wedi cael ei awdurdodi gan benderfyniad unrhyw Gynghor. (*Against the Donatists, B.* iv. *ch.* 24. *The Works of Augustine, vol.* iii. p. 112. *Edinburgh: Clark.* 1872.)

O'r 60 o esgobion yn Nghynghor Milevi, etholwyd 15 i gyhoeddi y ddeddf efengylaidd a ganlyn:—

"Hefyd pleser yr esgobion yw trefnu, *fod pwy bynag a wado fod babanod newydd eni o'u mamau i gael eu bedyddio*, neu a ddywedo fod bedydd i gael ei weinyddu er maddeuant o'u pechodau hwy, ac nid oblegyd pechod gwreiddiol deilliedig o Adda, ac i'w symmud ymaith drwy olchfa yr adenedigaeth,—I FOD YN FELLDIGEDIG." (*Robinson's Hist. of Baptism*, p. 217. *Hinton on Baptism, chap.* vii. *sect.* vii. *Dr. Wall, vol.* i. p. 470.)

Anfonwyd penderfyniadau Cynghor Milevi i'r Pab Innocent I., yr hwn a'u cymmeradwyodd. (*Infant Baptism: a Part and Pillar of Popery. By John Gill, D.D. Am. Ed.* 1851. p. 41.)

Fel yna, pan y gwnaeth bedydd babanod ei ymddangosiad *awdurdodol* gyntaf i'r byd, yr oedd awdurdod Pab yn dilyn o'i ol ef, a melldith esgob yn taranu o'i flaen!

---

## § II. TYSTIOLAETH Y CATACOMBS I HYNAFIAETH BEDYDD BABANOD.

Gwyr y darllenydd, ond odid, mai Claddfeydd yr Hen Gristionogion yn nghymmydogaeth dinas Rhufain, a olygir wrth y rhai hyn. Mae 42 o honynt o gwbl, ac y maent oll rhyw ddwy neu dair milltir o'r tu allan i furiau y ddinas. Wrth eu gwneuthur, cloddid i ddechreu rhyw ugain llath o dan arwynebedd y ddaear; wedi cyrhaedd y dyfnder hyny, gweithid llwybr gwastad rhyw ddwy lath o led, fel y brif fynedfa; torid beddau yn y graig ar bob llaw i'r llwybr hwn yn ei ochrau, yn mha rai y cleddid y meirw. Yn mhen ychydig, ymagorai y prif lwybr i bedwar neu bump o lwybrau culach, yn arwain i wahanol gyfeiriadau; ac oddeutu y llwybrau culion hyn drachefn gwneid tyllau neu feddau i dderbyn y meirw. Ac fel yna yn mlaen, gweithid llwybrau newyddion o'r hen lwybrau yn mhob cyfeiriad, a beddau yn ochrau pob un o honynt. Cleddid y Cristionogion ynddynt, mae'n debygol, o tua diwedd y ganrif gyntaf, neu ddechreu yr ail, hyd A.D. 410, pan orchfygodd Alaric I. ddinas Rhufain, ac y rhoddwyd yr arferiad o gladdu yn y *catacombs* heibio. (*Withrow*, p. 134. *The Catacombs of Rome. London: Nelson.* p. 41.) Yn amser erlid-

igaeth, ymguddiai y Cristionogion ynddynt rhag cynddaredd yr erlidwyr; yn amser heddwch a rhyddid, helaethid ac addurnid hwynt. Ar y ceryg beddau, y rhai a roddid fel cauad ar y twll yn y graig yn ochr y llwybr, byddai beddargraffiadau; ac ar hyd ochrau y llwybrau, byddai cerfiadau yn gosod allan olygfeydd Ysgrythyrol. Yn Hydref, 1877, bu awdwr y gyfrol hon yn un o honynt, sef *Catacomb St. Sebastian*, ar ochr Ffordd Appian *(The Appian Way)*, a gwelodd amryw o'r beddau hyn; rhai heb gauad arnynt, ag esgyrn coesau, breichiau, a phenglogau dynion yn y golwg ynddynt; ereill mewn gwell cyflwr, â darnau anmherffaith o frawddegau yn y Groeg a'r Lladin wedi eu naddu ar y cauadau.

Barna rhai awdwyr fod goleuni mawr ar darddiad apostolaidd bedydd babanod yn deilliaw o'r ysgrifeniadau ar y beddfeini yn y Catacombs. Dyfynir rhai ugeiniau o'r beddargraffiadau hyn, gan wahanol awdwyr, a honir fod eu tystiolaeth yn derfynol o blaid hynafiaeth bedydd babanod. Ni a ddodwn yma ychydig fel engreifftiau o'r gwahanol fathau o honynt; a chredwn eu bod, gyda'u gilydd, yn ddadganiad teg o'r dystiolaeth a briodolir i'r Catacombs yn nghylch hynafiaeth y ddefod dan sylw:—

1. "Un ffyddlawn (Gr. *pistos*) yn mhlith y ffyddloniaid: yma y gorwedd Zosimus. Bu fyw ddwy flynedd, un mis, ac 21 niwrnod."

2. "Gwnaeth Florentinus feddargraff i'w anwyl fab, yr hwn a fu fyw un flwyddyn, naw mis, a phum' niwrnod. Gan ei fod yn cael ei garu yn fawr gan ei nain, a hi yn canfod ei fod yn agos i farw, hi a ddeisyfodd ar yr eglwys iddo gael ymadael o'r byd yn gredadyn *(fidelis)*."

3. "I Romanus, planhigyn ieuanc (*neophyte**) teilwng, yr hwn a fu fyw wyth mlynedd."

4. "Flavia Jovina, yr hon a fu fyw dair blynedd, a 30 niwrnod: planhigyn ieuanc (*neophyte*). Mewn tangnefedd (y bu farw), y dydd cyntaf o'r unfed ar ddeg mis."

5. "Beddfaen Candidus, planhigyn ieuanc (*neophyte*), yr hwn a fu fyw 21 mis."

6. Beddargraffiadau ereill.

(1,) Plentyn, blwyddyn a naw mis, newydd ei fedyddio.

(2,) Geneth, dair blwydd a 30 niwrnod, newydd ei bedyddio.

(3,) Bacius Valerius, *catechumen*, naw mlwydd, wyth mis, ac 21 niwrnod.

(Gwel Dr. Chase's *Infant Baptism*, pp. 93, 101, 106, 107. *Withrow's Catacombs of Rome*, pp. 532, 533.)

---

* *Neophyte*, Groeg, *neophutos* (νεόφυτος), *newydd ei blanu*. Yn y LXX. dygwydda yn Job xiv. 9., lle y cyfieithir ef "planhigyn;" ac yn Salm cxliv. 12., lle y cyfieithir ef "planwydd." Yn y Testament Newydd ceir ef yn 1 Tim. iii. 6., a chyfieithir ef "newyddian yn y ffydd," hyny yw, un newydd ei ddychwelyd *(a new convert)*: gwel *Dr. E. Robinson's Greek Lexicon to the New Testament.*

Honir fod y geiriau *credadyn* a *phlanhigyn ieuanc*, yn cynnwys fod y personau y cyfeirir atynt wedi cael eu bedyddio; a chan fod y Catacombs yn hen, rhaid fod bedydd babanod yn cael ei arfer yn yr oes apostolaidd.

Dymunir, modd bynag, sylw y darllenydd at yr ystyriaethau canlynol:—

1. Mae'n bossibl fod y beddargraffiadau hyn yn cyfeirio at fywyd crefyddol y rhai ymadawedig, ac nid at eu bywyd naturiol. Ar un o honynt ceir *puer* (bachgen), yr hwn a ddesgrifir fel wedi ei eni a marw yn yr un flwyddyn, yn 24 oed. Ar un arall:—"Laurentius a anwyd i dragywyddoldeb yn yr ugeinfed flwyddyn o'i oedran. Huna mewn tangnefedd." (*Withrow*, p. 421. *Baptist Magazine*, *August*, 1877.)

2. Nid ydyw mewn un modd yn sicr fod y gair *neophyte* yn cynnwys yn ddieithriad fod y person a grybwyllir wedi ei fedyddio.

Ar un beddfaen, sonir am "ddau frawd diniwaid, un yn *neophyte*, a'r llall yn un o'r ffyddloniaid." (*Withrow*, p. 533.)

3. Os plant o dan oedran cyfrifoldeb a olygir yn yr engreifftiau blaenorol, mae y fath eiriau a *pistos*, *fidelis*, a *neophyte*, yn cael eu defnyddio mewn ystyr hollol anmhriodol ac afresymol.

4. Fod diweddarwch y beddargraffiadau yn eu gwneyd yn ddiwerth i brofi tarddiad apostolaidd bedydd babanod.

Dyna yr engraifft gyntaf ar y rhestr. "Perthyna, mae yn debygol," ebe Dr. Bushnell, "i oes foreuol iawn, i un o'r ddwy neu y tair canrif cyntaf." Dylasai y Doctor wybod yn amgen, gan mai o gladdfa St. Agnes y cymmerwyd hi. Yn awr, yn A.D. 304, neu 306, y merthyrwyd St. Agnes, ac yn mhen blynyddau ar ol hyny y gwnaed claddfa, ac yr adeiladwyd eglwys St. Agnes ar y man lle y merthyrwyd hi. Nis gall beddargraff Zosimus, gan hyny, fod wedi ei ysgrifenu o flaen y bedwaredd ganrif, os yn wir mor foreu a hyny.

Wedi dosbarthu y gwahanol fathau o feddargraffiadau y Catacombs, ysgrifena Dr. Chase fel hyn:—

"Y cyfeiriad cyntaf at fedydd plentyn a geir A.D. 348, yr hwn oedd y pryd hyny yn chwech oed, wyth mis, ac un diwrnod ar ddeg, newydd ei fedyddio. Y nesaf mewn hynafiaeth at hwna sydd yn A.D. 371, y plentyn yn wyth mlwydd a phymtheng niwrnod oed, newydd ei fedyddio. Y nesaf at hwn sydd yn A.D. 374, y plentyn yn wyth oed, newydd ei fedyddio. Fe welir fod yr holl rai hyn yn dygwydd yn y bedwaredd ganrif." (*Infant Baptism*, p. 103.)

Oddiwrth enwau y Consuls y rhai a ddygwyddant yn y beddargraff gwreiddiol i Romanus (3 yn y rhestr flaenorol), ceir ei fod wedi marw

A.D. 371. Bu farw Flavius Jovina (4 yn y rhestr), A.D. 367. Ond nid yw pleidwyr bedydd babanod, megys yr Esgob Kip, yn ei "Catacombs of Rome," Maitland, yn ei "Church in the Catacombs," a Withrow, yn ei "Catacombs of Rome," yn goleuo eu darllenwyr am ddyddiadau yr engreifftiau dan sylw. Mae yn dra thebyg, modd bynag, nad oes un o honynt i'w ddyddio yn foreuach na'r drydedd neu y bedwaredd ganrif.

5. Fe welir fod Catechumens yn mhlith y rhai y cyfeirir atynt. Rhai yn cael eu dysgu a'u parotôi erbyn cael eu bedyddio oedd y rhai hyn; ond pan oeddynt ar drengu, o herwydd crediniaeth ofergoelus yn rhinwedd achubol bedydd, cawn fod rhai o honynt yn cael eu bedyddio. Dengys y ffaith hon nad oedd bedyddio babanod yn cael ei arfer yn gyffredinol yn Rhufain yn y drydedd a'r bedwaredd ganrif.

6. Cydnabyddwn fod bedydd babanod wedi dechreu yn Ngogledd Affrica tua chanol y drydedd ganrif, ac iddo yn raddol ymledaenu i wledydd ereill; ac felly nad ydyw fod cyfeiriadau at fedydd babanod (os oes rhai) ar feddfeini y Catacombs yn achosi un syndod i ni, nac yn gwanychu yr un iot ar y tir a amddiffynwn.

Wele ni wedi sylwi yn fyr ar y prif resymau a ddygir yn mlaen dros fedyddio babanod, a'r prif wrthddadleuon yn erbyn golygiadau y Bedyddwyr. Gadawn y canlyniad i farn a chydwybod y darllenydd. Nid ydym yn ymwybodol ein bod wedi camddarlunio yr un wrthddadl, camliwio yr un ffaith, na chamesbonio yr un adnod; a'n prif a'n hunig amcan yn y cyfan ydoedd egluro y gwirionedd.

Yn wir, mae yn anhawdd gwybod ar ba dir yn awr y mae Ymneillduwyr ein gwlad yn taenellu ar fabanod, ac i ba ddyben. Gwna un dosbarth hyn ar sail ffydd eu rhieni, er eu dwyn i mewn i eglwys Crist; un arall ar y dealltwriaeth mai ordinhad oruchwyliaethol yw bedydd, ac nid un eglwysig, ac felly bedyddiant yr "holl Genedloedd," fel arwydd eu bod i fyned o dan ddysgeidiaeth yr efengyl, ac mewn anghen puredigaeth. Yn ol Mr. R. W. Dale, Birmingham, "Bedydd yw yr arddangosiad gweledig o'r ffaith fawr ein bod ni yn perthyn i hil dros yr hon y bu Crist farw;" a dysga nad ydyw bedydd na chymmundeb yn rhagdybied dim gyda golwg ar ffydd neu brofiad y rhai a'u derbyniant.

Ond gan nad beth yw seiliau tybiedig y ddefod, y mae yn amddifad o sail yn y Testament Newydd, ac yn groes i natur teyrnas nefoedd.

Ystyriwn fod ein hymchwiliad i hanes bedyddiadau y Testament

Newydd yn dangos nad oes sail ysgrythyrol i fedydd babanod. Os trown yr ymresymiad i ffurf cyfreswm *(syllogism)*, mae y canlyniad (*result*) yr un peth. Er engraifft:—

I. Mae pob ordinhad bendant o eiddo yr Arglwydd Iesu yn cael ei gosod allan mewn ymadroddion eglur yn y Testament Newydd;
Ni sonir am fedydd babanod o gwbl yn y Testament Newydd;
O ganlyniad nid yw bedydd babanod yn ordinhad bendant o eiddo yr Arglwydd Iesu.

II. Os nad yw babanod yn gymhwys i gael eu gwneyd yn ddysgyblion trwy bregethiad yr efengyl, nid ydynt yn ddeiliaid bedydd yn ol y commissiwn;
Ni all babanod gael eu gwneyd yn ddysgyblion trwy weinidogaeth yr efengyl, gan nas gellir eu dysgu, ac am nas medrant wahaniaethu rhwng da a drwg;
O ganlyniad nis gall babanod fod yn ddeiliaid bedydd yn ol y commissiwn.

III. Os traethodd Paul holl gynghor Duw, fel y tystia, ac nad attaliodd ddim o'r pethau buddiol i'r eglwys; ac eto os na chyhoeddodd o gwbl fod bedydd babanod yn ordinhad Ddwyfol, mae'n canlyn nad yw bedydd babanod yn sefydliad Cristionogol, nac yn rhan o gynghor Duw, nac yn fuddiol i'r eglwys:
Ond fe gyflawnodd Paul ei weinidogaeth gyda ffyddlondeb, ac eto ni ddywedodd erioed fod bedydd babanod yn ordinhad Crist;*
O ganlyniad nid ydyw bedydd babanod yn perthyn i'r efengyl, nac yn rhan o gynghor Duw, nac yn fuddiol i'r eglwys.

Nid peth dibwys yw coleddu syniadau ysgrythyrol ar fedydd, fel y dengys yr ystyriaethau canlynol:—

1. Nid ydyw bedydd y crediniol yn caniatâu yr un awdurdod mewn pethau crefyddol, ond awdurdod y Beibl; tra mae bedydd babanod yn milwrio yn erbyn egwyddor sylfaenol Protestaniaeth, sef hollddigonolrwydd yr Ysgrythyr.

---

*Oddi eithr yn wir i ni dybied, fel y dywedodd un Mr. Leigh, gweinidog Henadurol, mewn dadl bedydd yn Portsmouth, yn 1699, wrth Dr. Russell, na ddarfu i Luc gofnodi pregethau Paul yn gyflawn, neu fod Paul wedi methu crynhoi pob peth yn ei Lythyr at yr Ephesiaid, ac felly gadael bedydd babanod allan!—*A True Narative of the Portsmouth Disputation, between some Ministers of the Presbyterian, and others of the Baptist Persuation, concerning the Subjects and Manner of Baptism. Held February 22nd,* 1699. By Dr. William Russell. London, 1699, pp. 16—20.

2. Amddiffyna bedydd y crediniol yr egwyddor fawr mai Crist ydyw Deddfroddwr ei eglwys, ac mai y Testament Newydd yn unig yw y rheol i weinyddu ei hordinhadau. Rhaid cymmysgu y ddwy oruchwyliaeth er amddiffyn bedydd babanod.

3. Cytuna bedydd y crediniol âg ysbryd Cristionogaeth. Mae Cristionogaeth yn *ysbrydol*—yn ymwneyd â'r *meddwl*, ac yn gofyn ufydd-dod *personol* a *gwirfoddol*. Dyma yr ufydd-dod a geisir yn medydd y crediniol; tra yr annghydnabyddir y pethau hyn yn medydd babanod.

4. Gwasanaetha bedydd y crediniol fel llinnell wahaniaethol rhwng y byd a'r eglwys. Tuedda bedydd babanod i uno y byd a'r eglwys, a llenwi eglwys Dduw â dynion annychweledig; tra y dylanwada bedydd y crediniol er ei chadw yn forwyn bur i Grist. Tuedda bedydd y crediniol i ffurfio teyrnas "nad yw o'r byd hwn," ac i attal y galanasdra a achosir gan eglwysi gwladol.

5. Dylanwada bedydd y crediniol yn erbyn twyll offeiriadaeth o bob natur, gan ei fod yn gofyn fod *i bob aelod eglwysig feddwl drosto ei hun*, a pheidio galw neb yn feistr mewn pethau crefyddol ond yr Arglwydd Iesu Grist yn unig.

6. Mae tuedd bedydd y crediniol i wrthweithio a dinystrio Pabyddiaeth o'r byd crefyddol; tra mai bedydd babanod yw un o adnoddau cyfoethocaf ei nherth, ac yn un o darddellau ffrwythlonaf ei llygredd. Gwel *Hinton on Baptism*, *chap.* xi. *section* iii.

Ni a ddodwn yma ddwy neu dair o engreifftiau o'r fantais sydd gan un sydd yn gwrthod bedydd babanod; a'r anfantais sydd gan un sydd yn ei dderbyn, i wrthsefyll Pabyddiaeth.

(1,) *Parch. Jeremiah Ives a'r Offeiriad Pabaidd.*

Yn nyddiau Charles II. yr oedd yn byw weinidog i'r Bedyddwyr, o'r enw Jeremiah Ives, enwog fel dadleuydd. Wedi clywed am ei fedrusrwydd mewn dadl, anfonodd Charles am dano i ddadleu âg offeiriad Pabaidd. Cymmerodd y ddadl le yn mhresennoldeb y brenin a mawrion ei lys. Yr oedd Mr. Ives wedi ei wisgo fel offeiriad yr Eglwys Wladol. Gwasgodd Mr. Ives ar anadl yr offeiriad, trwy ddangos nad oedd athrawiaethau na defodau Eglwys Rhufain yn ysgrythyrol. Atebai yr offeiriad y byddai gwrthddadl Mr. Ives yr un mor rymus yn erbyn bedydd babanod ag yn erbyn defodau Eglwys Rhufain. Cydnabyddodd Mr. Ives yn rhwydd ei bod. "O!" ebai'r offeiriad, "ni ddadleuaf ychwaneg; yr wyf wedi cael

fy nhwyllo; yr oeddwn wedi dyfod i ddadleu âg offeiriad yr Eglwys Wladol, ond erbyn edrych, pregethwr yr Ail-fedyddwyr ydyw!" (*Crosby's History of the Baptists, vol.* iv. pp. 247, 248.)

(2,) *Y Cenadwr Denham a'r Jesuit Pirazza.*

Yn y *Baptist Magazine* am 1851, tud. 283—285, ceir yr hanesyn canlynol:—Un diwrnod yr oedd Cenadwr y Bedyddwyr, Mr. Denham o Serampore, yn dychwelyd o Burmah i Serampore; ar fwrdd y llong cyfarfyddodd âg offeiriad Pabaidd, Jesuit, y Tad Pirazza wrth ei enw. Yr oedd yn gyfeillgar iawn â Mr. Denham ar y dechreu, heb ddeall ei fod yn Genadwr. Drannoeth bu dadl rhwng yr offeiriad âg un o swyddogion y llong. Yn y prydnawn daeth yr offeiriad at Mr. Denham i ddweyd ei gwyn. "A glywsoch chwi y sylwadau a wnaeth ——— y prydnawn yma?" eb efe. "Nid wyf yn ystyried iddo ymddwyn yn hollol deg tuag ataf. Efe a ddechreuodd, nid y fi. Y mae Protestaniaid yn dra rhagfarnllyd, ac nid ydynt yn deall, mewn gwirionedd, ond ychydig iawn o'u crefydd eu hunain. Gobeithio nad ydyw y sylw hwn yn eich tramgwyddo chwi?" "Dim o gwbl," ebe Mr. Denham. "Wel," ebe'r Jesuit, "nid wyf yn prisio cyfarfod â Phrotestaniaid—dyna Eglwys Loegr, er engraifft, yn dal llawer o bethau yr un fath a ninnau, ac y mae llawer o'i hoffeiriaid gyda ni yn gyfangwbl; ac mi a allaf ddadleu â sectau ereill; ond am y sect hòno y cyfarfyddwn â hi yn Burmah, a Chenadon pa un sydd wedi cael eu hanfon hyd y nod i Rangoon, *yr wyf yn cyfaddef nad wyf yn eu hoffi*, nac yn caru cyfarfod â hwynt. Mi a feddyliais ar y cyntaf fod ——— yn un o honynt." "Pa sect a olygwch?" ebe Mr. Denham. "Y Bedyddwyr," oedd yr ateb. "Paham nad ydych yn hoffi cyfarfod â'r dynion hyn?" ebe Mr. Denham. "Ni wnant ymresymu (ebe y Jesuit): ni wnant wrando ar addysg grefyddol, yr offeiriad, na'r eglwys."

Darfu i weuadau gewynau gwynebpryd Mr. Denham o dan y weinidogaeth hon daro y Tad Italaidd â'r syniad mai *Baptist* oedd Mr. Denham ei hun. "Bedyddiwr ydych chwi, Syr?" eb efe. Amlygodd yntau ei gydsyniad. "Nid Cenadwr?" "Ië, Cenadwr, Syr," ebe Denham. Ac ar ol ychydig eiliadau o ddystawrwydd, ychwanegai Mr. Denham, "Pabydd gynt, fel chwithau; ond Bedyddiwr yn awr, a Chenadwr." "Pabydd! beth a allai beri i chwi roddi i fyny eich crefydd?" "Am nas gallwn weled sail iddi yn y Beibl," ebe yntau. Wedi siarad am ychydig, dywedodd y Jesuit, "Y mae rheswm (*argument*) yn ddiwerth *os ydych yn gwadu traddodiad.* Os ydych yn gwadu fod traddodiad yn rhoddi sail i fedydd babanod, *pa fodd y gallaf ddadleu â chwi?*" "O'r Testament Newydd," ebe Denham. Darfyddodd yr ymddyddan yn fuan ar ol hyn.

(3,) *Dr. Cumming a'r Bar-gyfreithiwr French.*

Yn y ddadl enwog ar Babyddiaeth a Phrotestaniaeth rhwng Daniel French, Ysw., Bar-gyfreithiwr, a Dr. Cumming, yn y flwyddyn 1839, haerai Mr. French nad oedd gan Dr. Cumming un math o sail i fedydd babanod, ond *traddodiad.* Atebai Dr. Cumming "EI FOD EF A'I WRTHWYNEBYDD YN CYDWELED AR FEDYDD BABANOD, AC FELLY NAD OEDD EFE O DAN RWYMAU I'W DDADLEU!" Dychwelodd French drachefn, a thrachefn, a thrachefn at yr haeriad, *nad oedd gan y Protestaniaid ddim ond traddodiad yn sail i fedydd babanod;* ond yr oedd amddiffyniad Dr. Cumming o hyd yr un mor gloff. O'r diwedd, dywedodd French nas gwelodd efe ddadleuwr erioed wedi ei wasgu i fwy o gyfyng-gynghor na Dr. Cumming gyda'r pwnc hwn, ac na fu arno'r fath gywilydd dros un dyn yn ei fywyd; gan ychwanegu gyda llymder mawr, fod y Protestaniaid, er mwyn gwrthwynebu y Pabyddion, yn mabwysiadu y Beibl, ac yn collfarnu traddodiad: ond er mwyn gwrthsefyll y Bedyddwyr, eu bod yn gadael y Beibl o'r neilldu, ac yn derbyn traddodiad! (*The Hammersmith Protestant Discussion*, pp. 443. 471. 518, 519. 526. 557. 589, 590. *Edition* 1865.)

Mae yn ddiddadl fod bedydd babanod yn rhoddi Protestaniaeth yr oes mewn safle anfanteisiol i wrthsefyll Pabyddiaeth. Wrth barhau i'w arfer, rhoddant arf yn llaw eu gelynion yn eu herbyn eu hunain. Gymmaint cryfach a fuasai atebiad Dr. Cumming i Mr. French, pe buasai ei gyfundrefn yn lân oddiwrth y ddefod dan sylw! Mae yr amser yn dyfod pan y rhaid i gefnogwyr bedydd babanod, o bob enwad, edrych ar y gwendid yma sydd yn perthyn i'w cyfundrefn yn ei wyneb; ac os nad allant ei brofi o'r Testament Newydd, ei wrthod. Credwn mai diffyg ymchwiliad diduedd, ac ystyriaeth ddifrifol, yw yr achos fod cynnifer yn glynu wrtho, ac nid anufydd-dod gwirfoddol i argyhoeddiad y gwirionedd. Gallaf fi ddweyd yn ddiragrith, fy mod yn teimlo y parch dyfnaf i lu o frodyr perthynol i wahanol enwadau ein gwlad; credwyf fod llawer o honynt yn ymhyfrydu gyda chalon bur yn ngwaith yr Arglwydd; yr wyf yn caru y rhai sydd yn caru Crist yn mhob man; ïe, y dysgyblion cuddiedig sydd yn mynwes Eglwys Rhufain ei hun (oblegyd y mae gan Dduw ei bobl hyd y nod ynddi hi: Dad. xviii. 4.); ond nis gallaf lai na theimlo eu bod, wrth adael bedydd y Beibl, yn amddifadu eu hunain o lawer o gysur crefyddol—yn cyfyngu ar eu rhyddid eu hunain fel gweinidogion y gair wrth bregethu efengyl Crist—ac yn gwanychu eu tystiolaeth yn erbyn llygriadau Pabyddiaeth. Nis gellir gwrthsefyll yr Eglwys Babaidd yn effeithiol, tra byddo sawyr ei phuteindra ar ein gwisgoedd.

Siaredir ac ysgrifenir am attal bedydd oddiwrth fabanod, fel pe

buasai hyny yn gam â hwynt; ond a oes sail i'r fath dyb? Yr ydym ni yn credu yn ddifrifol, o'r ochr arall, fod bedydd babanod yn fwy o niwaid nag o les, ac yn fwy o anfantais nag o fantais i'r hwn sydd yn myned o dan y ddefod, a hyny o herwydd y rhesymau canlynol:—

1. Ni chwilia yr hwn a daenellir yn faban air Duw drosto ei hun ar y pwnc o fedydd, canys dysgir ef fod ei rieni wedi cyflawni y ddefod drosto; a dysgir ef i edrych gyda difaterwch ar ddeddf yr ordinhad.

2. Gosodir ef mewn *false position* tuag at Grist. Tra y dysgwylia Crist iddo dalu ymostyngiad gwirfoddol a phersonol i'r ordinhad o fedydd, gwna yr arferiad hwn iddo beidio meddwl am ddysgwyliadau ei Arglwydd wrtho yn hyn o beth.

3. Derbynia gefnogaeth (*sanction*) crefyddwyr i fyw mewn anufydd-dod i Frenin Seion.

4. Dygir ef i fyny o'i febyd i edrych ar draddodiadau dynol fel pethau cyssegredig.

5. Camddarlunir crefydd iddo fel peth teuluaidd, cnawdol, neu fel peth goruchwyliaethol, yn hytrach nag fel peth personol rhyngddo ef ei hun a'i Dduw, gwreiddyn yr hyn yw ffydd, a hanfod yr hyn yw cariad.

6. Amddifedir ef o'r pleser sydd i'w gael wrth dalu ufydd-dod personol a gwirfoddol i Grist yn yr ordinhad; a bydd appeliadau yr Ysgrythyr at y saint i fyw yn santaidd o herwydd eu hadduned wirfoddol yn y bedydd, yn disgyn yn farw ar ei glust a'i galon ef.

"AT Y GYFRAITH, AC AT Y DYSTIOLAETH: ONI DDYWEDANT YN OL Y GAIR HWN, HYNY SYDD AM NAD OES OLEUNI YNDDYNT." (Esai. viii. 20.)

---

# RHAN IV.

---

# DYBEN A PHWYSIGRWYDD BEDYDD.

---

### DYBEN NEU AMCAN SEFYDLIAD BEDYDD.

*Dyben Bedydd i'w gasglu oddiwrth ei Arwyddocâd—Mwy nag un Dyben i Fedydd—I. Bedydd yn Arwyddlun Proffes—Gwahaniaeth rhwng Arwyddlun ac arwydd—Na ddarfu i Sefydliad Swper yr Arglwydd ddileu Bedydd—Bedydd yn Broffes o Ymgyssegriad i waith Duw—II. Bedydd yn Arwyddlun o Waredigaeth a Glanhad—Y modd y mae Bedydd yn Achub—Nad yw y Beibl yn dysgu Taenellu â dwfr yn unig ar unrhyw wrthddrych—" Taenellu Cenedloedd lawer"—III. Bedydd yn achlysur o Ddyddanwch, a Thystiolaeth o Fabwysiad i'r credadyn—IV. Bedydd yn Foddion Santeiddiad i'r bedyddiedig am weddill ei oes—V. Bedydd yn Brofiedydd Cymmeriad, ac yn Gadwedydd Purdeb yr Eglwys.*

MAE yn bwysig i ni ddeall beth yw dyben yr ordinhad o fedydd, ac er mwyn pa beth y sefydlwyd hi. Gallwn gasglu oddiwrth ddoethineb y Deddfroddwr, a'r lle amlwg a roddir i fedydd yn y Testament Newydd, fod iddo ei amcan, a bod hwnw yn un pwysig; ond yn mrwdaniaeth dadleuon yn nghylch dull a deiliaid bedydd, mae lle i ofni mai cymmysglyd ac ansicr yw syniadau llawer yn nghylch ei ddyben a'r amcan o'i sefydliad.

Ymdrechwn yn yr ymchwiliad hwn gael allan pa oleuni a deflir ar y pwnc yn y Testament Newydd, a pha fodd yr edrychai yr ysgrifenwyr santaidd ar ei ddyben a'i arwyddocâd.

*Nis gellir deall dyben bedydd yn gywir, heb ystyried y dull priodol o'i weinyddu, gan fod cyfeiriad yn yr hyn a ddywedir am ei ddyben at ei arwyddocâd.* Mae bedydd fel y dysgwn ni ef yn cynnwys cyfeiriad at, neu yn rhagdybied bodolaeth ffeithiau mawrion Cristionogaeth; ond gwna hyny yn ddieithriad yn nglyn â ffydd yn y bedyddiedig, a thrwy yr arwyddlun yn y weithred o fedyddio, yn cynnwys y suddo,

y gorchuddio, a'r adgyfodi. Mae tystiolaeth bedydd yn ymddibynu ar ansawdd meddwl y bedyddiedig, ac arwyddocâd y weithred; ac os collir golwg ar ansawdd meddwl y bedyddiedig, ac arwyddocâd y weithred, mae ei dystiolaeth yn aneglur. Os newidir y cymhwysderau yn yr ymgeisydd, neu ddull gweinyddiad yr ordinhad, nid oes ganddi dystiolaeth mwyach am yr hyn a fwriadai yr Ysbryd Glân. Os ystyrir fod dull bedydd yn ddibwys, a bod y deiliaid heb eu nhodi allan yn eglur, ac mai ei ddyben yw dwyn tystiolaeth i awdurdod Crist, ac i wirioneddau yr efengyl mewn modd cyffredinol, *mae yn anhawdd gwybod pa gyssylltiad sydd rhwng y pethau hyn â bedydd yn fwy nag â rhyw ran arall o addoliad Duw.* Byddai nodi y pethau hyn fel dybenion pregethiad yr efengyl yn fwy priodol nag fel dybenion bedydd; oblegyd os na chedwir dull a deiliaid priodol bedydd mewn golwg, nid oes ganddo dystiolaeth o gwbl i ni.

Felly gyda Swper yr Arglwydd. Mae *arwyddocâd* yr ordinhad hon i'w ganfod yn nrylliad y bara a thywalltiad y gwin, er dangos drylliad corph a thywalltiad gwaed Crist; ac yn ein gwaith ninnau yn cyfranogi o'r elfenau, er dangos ein hymddibyniad ar Grist am iachawdwriaeth, a'n dewisiad gwirfoddol a phersonol o hono, mewn dull o ddweyd, fel moddion neu faeth ein bywyd ysbrydol. Mae yr *amcan* yn cael ei nodi yn ngeiriau yr Arglwydd Iesu a'i genad Paul, sef er cof am y Ceidwad yn marw drosom, (Mat. xxvi. 26—28. 1 Cor. xi. 23—26.) yn nghyda'r dyben israddol o osod allan undeb y saint â'u gilydd trwy rinwedd eu hundeb â Christ, y rhai, er eu bod yn llawer o unigolion, ydynt un ynddo ef, fel y mae darnau lliosog y bara yn y cymmundeb, yn rhanau o'r un dorth. (1 Cor. x. 16, 17.)

Mae yn eglur hefyd oddiwrth eiriau yr Arglwydd Iesu, fod yr ordinhad wedi ei bwriadu i rag-gysgodi *(typify)* swper neithior yr Oen, neu ddedwyddwch y gwaredigion ar ben eu taith yn mhresennoldeb Crist. (Mat. xxvi. 29. Marc xiv. 25. 1 Cor. xi. 26. Cymharer Mat. xxv. 10. Dad. xix. 7—9.)

Mae esiampl yr Arglwydd Iesu gyda'i ddysgyblion yn ddigon i benderfynu pa un ai *sefyll* fel y Groegiaid, ai *penlinio* fel y Pabyddion, ai *eistedd* fel y Bedyddwyr, a ddylid yn y cymmundeb.

*Hanfodion arwyddocâol y weithred yn Swper yr Arglwydd yw dryllio y bara a thywallt y gwin yn ngwydd yr edrychwyr, y rhai y mae y dysgyblion drachefn i gyfranogi o honynt.* Os nad oes dryllio bara a thywallt gwin ynddo, nid oes arddangosiad o ddrylliad corph a thywalltiad gwaed y Cyfryngwr, ac nid Swper yr Arglwydd mo hono mwyach. Y mae hyn wedi ei golli yn ngwasanaeth yr Eglwys Babaidd, ac felly y mae ei dystiolaeth a'i arwyddocâd gwreiddiol wedi diflanu o hono yn ei chyfundeb hi.

A'r un fath yn hollol yr ymddengys i ni y rhaid fod pethau yn

nglyn â bedydd, os na weinyddir ef yn ol y Testament Newydd. Mae dyben bedydd gan yr apostol Paul yn anwahanadwy gyssylltiedig â'i ddull; dysga ddyledswydd y bedyddiedig oddiwrth arwyddocâd y weithred o fedyddio. Dywed ein bod wedi cael ein claddu yn y bedydd a'n cyfodi drachefn, fel y rhodiem mewn newydd-deb buchedd. Mae arwyddocâd bedydd wedi cael ei dywyllu i'r fath raddau trwy newidiad y dull, fel yr awgrymai Dr. Wall a Dr. Whitby, Esgobaethwyr, y dylid adferu trochiad; a thystia Conybeare a Howson, ac ereill, nas gellir deall y cyfeiriadau at fedydd yn y Testament Newydd, heb gadw mewn cof mai trwy drochiad y bedyddid yn yr oes apostolaidd.

Ond i fod yn fwy arbenig a neillduol gyda golwg ar ddyben neu ddybenion bedydd. Credwn fod iddo fwy nag un dyben, neu fod ei ddyben yn amrywiol neu yn aml-agweddawg *(that its design has many aspects, or that it is manifold in its character)*, ac na ddylid haeru mai un peth yw ei ddyben, tra na chymmerir i ystyriaeth ddybenion ereill cydfynedol. Ymddengys i ni nad oes un dyben yn ddigon cynnwysfawr i egluro yr holl gyfeiriadau ato, a bod rhai adnodau yn edrych arno o dan un agwedd, ac adnodau ereill yn cyfeirio ato o dan agweddau ereill.

I. UN O DDYBENION SEFYDLIAD BEDYDD YDYW, ER BOD YN FODDION AC YN ARWYDDLUN O BROFFES O'N FFYDD YN NGHRIST, AC O'N HYMGYSSEGRIAD I'W WAITH EF.

Mae bedydd yn ordinhad ag y mae ufydd-dod iddo yn rhoddi achlysur a chyfleusdra i ddyn broffesu ei ffydd yn Nghrist, fel Iachawdwr y byd a Brenin y saint; ac yn fath o arwyddlun hefyd o ffeithiau mawrion Cristionogaeth.

Yr ydym yn dweyd ARWYDDLUN yn fwriadol, gan fod yr apostol Paul yn son am dano fel *cyffelybiaeth* (ὁμοίωμα) i'w farwolaeth a'i adgyfodiad ef. (Rhuf. vi. 5.) Nid arwydd yn unig yw bedydd, ond arwyddlun, neu gyffelybiaeth mewn darlun neu weithred. Yr oedd y ceryg o'r Iorddonen yn arwydd fod Israel wedi croesi, ond nid i fod yn arwyddlun. (Jos. iv.) I fod yn arwyddlun, yr oedd eisieu rhyw lun neu ddelweddiad o'r bobl yn croesi yr afon. Gall fod seren ar fron milwr yn arwydd er cof am fuddygoliaeth ar faes y gwaed; ond i fod yn arwyddlun o'r fuddygoliaeth, rhaid cael bathodyn *(medal)* neu rywbeth â llun y byddinoedd gwrthwynebol arno yn ymosod ar eu gilydd, a'r rhai gorchfygedig yn ffoi o'r maes, neu yn rhoddi eu hunain i fyny yn garcharorion. Yr oedd trigiad meibion Israel mewn bythod ar wyl y Pebyll, nid yn unig yn gof-arwydd, ond yn arwyddlun o waith eu tadau yn trigo mewn bythod pan ar eu

hymdaith yn yr anialwch. Mae bedydd a swper yr Arglwydd, nid yn unig yn arwyddion i'n hadgofio fod Crist wedi marw drosom, ond yn arwyddluniau o'i angeu, ac yn fath o ddelweddiad o'i ddyoddefiadau; yr hyn a ddengys fod y gweinyddiad o honynt yn ol llythyren y gorchymyn yn hanfodol er sicrhau amcan eu sefydliad.

Yr oedd bedydd yr Arglwydd Iesu ei hun yn rhag-arwyddlun bywiog ac argraffiadol o'i farwolaeth a'i adgyfodiad; fel y suddai o dan y dwfr, ac yr ymddadsuddai drachefn. Yr oedd ei ymddadsuddiad, a disgyniad yr Ysbryd Glân arno, ac agoriad y nef, yn arddangos hefyd, mae'n debygol, ei esgyniad i'r nef, boddlonrwydd y Tad i'w waith, a disgyniad yr Ysbryd Glân fel ffrwyth ei eiriolaeth.

*Ni ddarfu i sefydliad Swper yr Arglwydd ddiddymu yr ordinhad o fedydd.* Yn hytrach na hyny, fe ddarfu i'r Gwaredwr ail gadarnhau bedydd fel moddion proffes ein ffydd yn y Drindod santaidd,—yn y Tad fel Ffynnonell, y Mab fel Achos, a'r Ysbryd Glân fel Cymhwysydd ein hiachawdwriaeth. (Mat. xxviii. 18—20.) Nas gallai y Swper wneyd bedydd yn ddianghenrhaid, sydd amlwg wrth ystyried y gwahaniaeth sydd rhyngddynt:—

1. Ordinhad gyssegriadol, i ddangos toriad cyssylltiad dyn â'i bechod, a'i ymuniad â phobl Dduw, yw bedydd; tra mae y Swper yn arddangosiad o ffydd a chariad y rhai sydd eisioes yn ddysgyblion. Yn unol â'r dyben hwn, nid yw bedydd i'w weinyddu ond unwaith, fel arwyddlun genedigaeth y dysgybl i deulu Duw; tra mae y Swper i'w weinyddu yn fynych, fel arwyddlun o foddion cynnaliaeth ysbrydol parhaus y rhai sydd yn blant mabwysiedig iddo ef.

2. Ordinhad yn gofyn ymostyngiad unigol a phersonol yw bedydd, yn yr hon y mae y bedyddiedig, yn ngwydd yr eglwys a'r byd, yn proffesu ei edifeirwch a'i ffydd; tra mai ordinhad eglwysig, yn yr hon y mae yr holl eglwys yn cydgyffesu y Cyfryngwr, yw Swper yr Arglwydd, yn yr hon nid yw y naill ddysgybl yn cael ei wahaniaethu oddiwrth y llall.

*Mae math o undeb neu gymdeithas rhwng y Cristion a'r Iesu yn ei angeu a'i adgyfodiad, yr hyn a arddangosir yn y bedydd.* Fe fu efe farw i ddileu pechod; mae y Cristion yn marw i ymwrthod â phechod. Fe fywhawyd corph Crist gan allu Duw; mae enaid y Cristion wedi cael ei fywhau gan yr un gallu. Fe adgyfododd Crist o'r bedd i wneyd ewyllys ei Dad mewn cylch newydd, ar orsedd y nef; mae y Cristion yn cyfodi o gladdfa y bedydd i wneuthur ewyllys Duw mewn cylch newydd, sef yn nheyrnas ei Fab ef, yn nhiriogaeth goleuni a santeiddrwydd. Fel y cyfryw, mae y Cristion, yn ol desgrifiad yr apostol Paul, wedi cael ei gladdu mewn arwyddlun

gyda Christ—mewn undeb a chymdeithas âg ef, mewn ufydd-dod i'w orchymyn, ac mewn cydymdeimlad â'i amcan grasol pan yn marw; ac wedi cael ei gyfodi hefyd gydag ef yn yr un arwyddlun er cydweithio gydag ef i ddiddymu gormes pechod yn y byd, a sefydlu teyrnasiad santeiddrwydd. (Rhuf. vi. 3—6. Col. ii. 12. iii. 1.)

Nis gall taenelliad neu dywalltiad ddelweddu marwolaeth ac adgyfodiad; os defnyddir y naill neu y llall yn lle trochiad, fe ddinystrir arwyddocâd yr ordinhad, ac fe ddiddymir amcan ei sefydliad.*

Mae ein bedydd fel hyn yn cyfeirio at adgyfodiad Iesu Grist, (1 Pedr iii. 21, 22.) yr hyn yw sail ein gobaith, a gwystl ein hiachawdwriaeth. Mae ei adgyfodiad yn cynnwys ei farwolaeth, ac nid yn unig y ffaith o'i farwolaeth, ond yn brawf hefyd o'i gwerth iawnol a'i haeddiant anfeidrol, fel yr amlygir yn nghymmeradwyaeth y Tad trwy ei adgyfodiad ef; a'r hyn, o ganlyniad, sydd yn cynnyrchu gobaith a hyder yn yr enaid. (1 Pedr i. 3.) Mae adgyfodiad Crist, yn y dull hwn, yn debyg i fryn neu uchelfa, oddiar ba un y mae y Cristion yn canfod ar un llaw y dyoddefiadau a wnaethant iawn, ac ar y llaw arall y gogoniant ar ol hyny. Mae yr ordinhad o fedydd, gan ei bod wedi ei bwriadu i'n hadgofio am fawredd dyoddefiadau, a gogoniant adgyfodiad Crist, ac o rwymedigaethau y bywyd Cristionogol, yn galw am le amlwg yn y grefydd Gristionogol.

*Desgrifia Paul waith y Galatiaid yn proffesu Crist yn y bedydd, o dan y gymhariaeth o wisgo Crist.* "Y ddeddf gan hyny oedd ein hathraw ni at Grist, fel y'n cyfiawnhâid trwy ffydd. Eithr wedi dyfod ffydd, nid ydym ni mwyach o dan athraw. Canys chwi oll ydych blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu. Canys cynnifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist (Groeg, *i Grist*), a wisgasoch Grist." (Gal. iii. 24—27.) Pa un bynag a ydym i ddeall y cyfeiriad, gyda Fuller, at waith dyn pan yn myned i wasanaeth tywysog yn newid ei wisg, ac yn rhoddi gwisg newydd perthynol i lys a gwasanaeth y cyfryw dywysog am dano, ai at arferiad y rhai bedyddiedig yn eu bedydd yn newid eu gwisgoedd, ac yn rhoddi gwisgoedd newyddion a glân

---

* Mae yn dra thebygol fod Paul yn edrych ar fedydd fel arwyddlun o adgyfodiad y saint hefyd, yn ogystal a delweddiad o adgyfodiad Crist. Mae gweinyddiad yr ordinhad yn pregethu yr adgyfodiad. "Os amgen, beth a wna y rhai a fedyddir gyda chyfeiriad at (ὑπερ, *with reference to, concerning:* Rom. i. 8. 2 Cor. i. 6—8. xii. 8. Phil. i. 7. 2 Thes. ii. 1.) y meirw, os y meirw ni chyfodir ddim? Paham ynte y bedyddir hwy gyda chyfeiriad at y meirw? (1 Cor. xv. 29.) A ellid meddwl am eiliad y buasai Crist yn sefydlu ordinhad ag sydd yn delweddu yr adgyfodiad o feirw, pe na buasai adgyfodiad i gymmeryd lle? A fuasai efe yn cellwair â ni fel hyn! Gwel tudal. 79, a *Seren Gomer* am Ionawr, 1880.

am danynt, fel y tybia MacKnight, ac ereill, mae y meddylddrych yr un. Darfu iddynt mewn modd gweledig a chyhoeddus, ymrwymo yn eu bedydd i ymwrthod âg Iuddewiaeth, y byd, a phechod yn ei holl agweddau, a gwisgo Crist yn y broffes o hono, yn ei addfwynder, ei rinweddau, a'i gymmeriad. Cawsant eu bedyddio iddo—i fywyd o ufydd-dod iddo, ac o gymdeithas ag ef, ac fel hyn eu huno mewn modd gweledig â'i deyrnas; ac fel y cyfryw, mewn dull o ddweyd, gwisgasant Grist. Crist sydd i fod yn y golwg bellach. Y maent i fyw Crist ger bron dynion. Y maent i feddwl ei feddyliau ef, i lefaru ei eiriau ef, a gwneuthur ei weithredoedd ef; y mae eu hysbrydoedd i gael eu llywodraethu gan ei Ysbryd ef; y mae Crist i drigo ynddynt, gan deyrnasu yn eu calonau; fel y byddont yn byw bywyd, ac yn delweddu santeiddrwydd Crist drosodd drachefn; ac fel y byddo y byd, wrth sylwi ar eu bywyd, a gwrando ar eu geiriau, yn canfod delw, ac yn dysgu ewyllys yr Arglwydd Iesu Grist.

Mae bedydd i'r Cristion yn fath o lŵ o ffyddlondeb i Grist, trwy yr hwn y mae yn ymbriodi â'i achos, ac yn cydnabod a chyffesu mai yr Arglwydd Iesu yw ei Dduw. Gan hyny, y mae gwrthod bedydd yn wrthodiad o gynghor Duw. Yr oedd y Phariseaid a'r cyfreithwyr yn gwrthod derbyn Iesu fel y Messiah, ac felly yn gwrthod bedydd fel proffes o hono. Yr oedd eu gwaith yn gwrthod yr arwydd, yn cynnwys gwrthodiad o'r hyn a arwyddid trwyddo; fel y mae gwaith gwrthryfelwr yn gwrthod cymmeryd llŵ o ffyddlondeb i'r brenin, yn cynnwys ei fod yn gwrthod cydnabod y brenin fel llywodraethwr cyfreithlon y deyrnas. (Luc vii. 29, 30.)

*Mae geirweddiad y commisiwn yn dysgu ymgyssegriad i'r Arglwydd.* Mae y geiriad "*bedyddio i*" un, neu "enw" un, (βαπτιζω εἰς,) yr hyn a geir yn Mat. xxviii. 19. Gal. iii. 27., yn golygu, yn ol y beirniaid goreu, "bedyddio i broffes o ffydd ynddo ac ufydd-dod didwyll iddo." Felly y dywed Paul fod yr Israeliaid wedi cael eu bedyddio i Moses, (1 Cor. x. 2.) er ufyddhau iddo a'i ddilyn fel cynnrychiolydd Duw gyda'r bobl, fel ag yr ydym ninnau yn cael ein bedyddio i Grist, pryd y proffeswn grediniaeth ynddo, ac yr addawn ufydd-dod iddo.

Yn y goleuni yma yr ydym i ddeall geiriau Paul yn 1 Cor. i. 15:—"Fel na ddywedo neb fedyddio o honof fi yn fy enw (Groeg, *i fy enw)* fy hun." Pan glywodd Paul fod yr eglwys yn ymbleidio o herwydd ei gwahanol farnau am y pregethwyr, dywedodd ei fod ef yn ddiolchgar i Dduw na fedyddiasai efe ond ychydig o honynt, rhag ofn i neb ddweyd ei fod *wedi bedyddio personau i'w enw ei hun*, hyny yw, i fod yn ddilynwyr iddo ef ei hun, ac nid i Fab Duw.

Fel y sylwyd yn flaenorol, (tud. 196.) mae y gair "enw" yn y Beibl, yn golygu yn fynych y person ei hun ag y cyfeirir ato. Felly "enw Paul" yn 1 Cor. i. 15. a olyga yr apostol ei hun. Defnyddir

y gair "enw" yn fynych yn ei gyssylltiad â Duw, i olygu Duw ei hun. Felly yn neddf bedydd, "Bedyddio i enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân," yw bedyddio i Dduw ei hun fel y dadguddir ef yn y Testament Newydd, yn Drindod mewn Undod yn iachawdwriaeth dyn. Mae bedydd, gan hyny, yn weithred ddifrifol o addoliad i Dduw, ac yn broffes barchus o ffydd ynddo, ac o ymgyssegriad santaidd i'w wasanaeth. Y mae *bedyddio i enw y Tad*, yn gwahaniaethu y bedyddiedig oddiwrth eilunaddolwyr ac anffyddwyr, fel un sydd yn credu yn y gwir Dduw: ac *i'r Mab*, yn ei wahaniaethu oddiwrth y rhai sydd yn gwadu, neu yn ammheu, neu yn gwrthod cydnabod Duwdod a Mesaiahyddiaeth Iesu Grist: ac *i'r Ysbryd Glân*, yn ei wahaniaethu oddiwrth y rhai sydd yn gwadu personolrwydd yr Ysbryd Glân, a'r rhai sydd heb adnabod ei waith ar eu calonau.

*Cawn yr un meddylddrych o ymgyssegriad yn cael ei ddysgu mewn lleoedd ereill mewn ymadroddion gwahanol.* "Oblegyd trwy yr un Ysbryd y bedyddiwyd ni oll yn un (Groeg, *i un)* corph." (1 Cor. xii. 13.) Hyny yw, trwy ddylanwad ac arweiniad yr un Ysbryd Santaidd y tueddwyd ni oll i gael ein bedyddio i Grist, fel ag i ffurfio un corph neu gymdeithas o ddychweledigion, er cadw coffadwriaeth o'i enw, a dwyn ei waith yn mlaen ar y ddaear. (Gwel Bloomfield a Doddridge ar y lle.) "Fel y santeiddiai efe hi, wedi iddo ei glanhau â'r badd dwfr, trwy y gair; fel y gosodai efe hi iddo ei hun yn eglwys ogoneddus," &c. (Eph. v. 26, 27.) Cyfeirir yma, ebe'r beirniaid, at waith y briodasferch yn y Dwyrain yn ymdrochi ac yn ymlanhau, ac yn addurno ei hun, cyn cael ei chyflwyno i'w phriod ar ddydd ei phriodas. Felly y mae yr eglwys, priodasferch gwraig yr Oen, yn cael ei glânhau â'r badd dwfr yn y bedydd, (fel arwyddlun o lânhad yr enaid yn ngwaed Crist,) ar adeg ei hymgyssegriad cyhoeddus i'w wasanaeth ef, ac yn cael ei santeiddio mewn modd ysbrydol trwy y gair; fel y caiff yn y diwedd ei chyflwyno yn berffaith ger ei fron ef mewn gorfoledd, yn ngwlad y gogoniant pur.

Fe welir fod y meddylddrych o ymgyssegriad i Dduw yn yr holl gyfeiriadau hyn. Yn unol â hyn y darllenwn yn y Testament Newydd am y dychweledigion yn mhob man yn cael eu bedyddio ar ddechreuad eu gyrfa grefyddol, er dangos eu bod yn ymwrthod â'r byd, ac am ddilyn yr Oen i ba le bynag yr elo. (Act. ii. 38. 41. viii. 12. 38. ix. 18. xvi. 14, 15. 32, 33. xviii. 8, &c.)

*Mae yn eglur, gan hyny, oddiwrth yr ystyriaethau blaenorol, er nad yw bedydd yn hanfodol i iachawdwriaeth, eto* EI FOD YN HANFODOL I BROFFES REOLAIDD O GRIST YN OL Y TESTAMENT NEWYDD.

II. Amcan arall o'i sefydliad ydyw, i fod yn arwyddlun o waredigaeth a glanhad y credadyn oddiwrth bechod, a'i ddygiad i afael iachawdwriaeth.

Yn y goleu yma, mae'n ddiau, yr ydym i ddeall y fath adnodau a'r rhai canlynol, y rhai sydd yn son am olchi pechod ymaith yn y bedydd, a bod bedydd yn achub, a bedyddio er maddeuant pechodau, &c.

"Yr oedd Ioan yn bedyddio yn y diffaethwch, ac yn pregethu bedydd edifeirwch, er maddeuant pechodau." (Marc i. 4. Luc iii. 3.)

"Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." (Act. ii. 38.)

"Ac yr awrhon beth yr wyt ti yn ei aros? cyfod, bedyddier di, a golch ymaith dy bechodau, gan alw ar enw yr Arglwydd." (Act. xxii. 16.)

"A hyn fu rai o honoch chwi; eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a santeiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhawyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni." (1 Cor. vi. 11.)

"Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân." (Tit. iii. 5.)

"Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hyn sydd yr awr hon yn ein hachub ninnau, sef bedydd, (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist." (1 Pedr iii. 2.)

Fe welir fod golchi ymaith bechod, ac achub, yn cael eu cyssylltu, mewn rhyw ystyr neu gilydd, â bedydd yn yr adnodau hyn; a'r pwnc pwysig yw yn mha ystyr?

Fe fydd i'r Rheolau Dehongliadol canlynol ein cynnorthwyo i ddeall y pwynt.

1. *Pan y dywedir fod yr un amcan yn cael ei gyrhaedd trwy ffyrdd gwahanol, ni olygir ei fod yn cael ei gyrhaedd yn yr un ystyr.*

Er engraifft, priodolir y gwaith o achub i Grist (Mat. i. 21. Act. iv. 12.), i'r gair (Iago i. 21.), ac i ddyn (Iago v. 20.); nis gellir deall y gair achub yn yr un ystyr yn ei gyssylltiad â'r naill a'r llall. Crist sydd yn achub mewn modd gweithredol ac yn yr ystyr uchaf; mae y gair yn achub fel *offeryn;* a dyn yn effeithio iachawdwriaeth ei gyd-ddyn fel *trosglwyddydd* cenadwri y bywyd.

Dywedir fod dyn yn cael maddeuant o'i bechodau pan y creda (Act. x. 43.) a thrachefn pan y bedyddir ef (Act. ii. 38.); ond y mae yn eglur nad ydynt yn cael eu maddeu yn y ddau amgylchiad yn yr un ystyr. Rhaid gan hyny fod dau fath o faddeuant—*maddeuant gwirioneddol*, pan y mae dyn yn derbyn Crist; a *maddeuant arwyddluniol* neu *ddadganiadol* yn y bedydd. Felly gyda golchi ymaith bechodau.

Golchir hwynt ymaith *yn rhinweddol a gwirioneddol* yn ngwaed yr Oen; ond yn *ffugyrol* neu *mewn arwyddlun* yn y bedydd; yn debyg fel y dywedir fod y bara a'r gwin yn y cymmundeb yn gorph a gwaed Crist, pan mai arwyddluniau o hyny ydynt.

2. *Rhaid esbonio testynau unigol yn y fath fodd ag i fod mewn cyssondeb â dysgeidiaeth yr holl Feibl.*

Rhaid i ni esbonio yr adnodau sydd yn son am fedydd yn achub yn y fath fodd ag i beidio milwrio yn erbyn yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd. Telerau hanfodol iachawdwriaeth yw edifeirwch tuag at Dduw, a ffydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist. "Ond cynnifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes allu iddynt i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a *gredant* yn ei enw ef." (Ioan i. 12.) "Yr hwn sydd yn *credu* ynddo ef ni ddemnir; eithr yr hwn nid yw yn credu a ddamniwyd eisioes, o herwydd na chredodd yn enw uniganedig Fab Duw." (Ioan iii. 18.) "*Cred* yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi, ti a'th deulu." (Act. xvi. 31.) Y rheswm paham y cyssylltir iachawdwriaeth dyn â ffydd mewn modd mwy arbenig nag ag un gras arall, neu weithred arall o eiddo y meddwl yw, FOD FFYDD YN DWYN DYN I UNDEB A CHRIST, AC FELLY I BERTHYNAS NEWYDD A DUW. Ni edrychir arno ar ol hyn fel y mae ynddo ei hun, ond fel y mae yn Nghrist—"yn gymmeradwy yn yr Anwylyd." Edrychir ar ei feiau wedi cael eu cosbi yn mherson Crist, ac ystyrir teilyngdod ufydd-dod a rhinwedd angeu Crist fel ei eiddo yntau. Dyma y rheswm paham y rhoddir y fath bwys ar ffydd yn yr Arglwydd Iesu, ac y collfernir pob ymwneyd â chrefydd o eiddo y dyn tra yn ymddifad o wir ffydd ynddo ef; a dyma y rheswm dros gyhoeddi diogelwch y rhai sydd yn Nghrist, gan ei fod ef a'i haeddiant rhyngddynt a dystryw.

Pregethai Paul yr edifeirwch sydd tuag at Dduw, a'r ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist. (Act. xx. 21.) Mae edifeirwch yn arddangos y teimlad hwnw a ddylai feddiannu dyn tuag at Dduw fel Deddfroddwr, a'i ofid a'i alar o herwydd iddo erioed bechu yn ei erbyn; ond y mae ffydd yn arddangos gwaith yr enaid yn cofleidio Crist fel y Gwaredwr rhag y llid a fydd; a'r eiliad y cred dyn ynddo, y mae y ddedfryd yn cael ei symmud, y beiau yn cael eu maddeu, a'r euogrwydd yn cael ei ddileu, ac yntau yn myned trwodd o farwolaeth i fywyd. *Mae defnydd ac effeithioldeb ffydd yn nghyfiawnhad dyn yn dangos ei fod yn gadwedig yr eiliad y creda, ac felly yn flaenorol i'w fedydd, ac yn annibynol arno.*

Yr ydym wedi nodi fod ffydd yn newid perthynas dyn â Duw, a'i ddwyn i safle newydd ger ei fron ef. Nis gellir dweyd y fath beth am fedydd. Ni wna bedydd ynddo ei hun ddwyn dyn i berthynas

newydd â Duw, ac nis gellir edrych arno fel yn effeithio i berffeithio neu gwblhau perthynas ysbrydol y credadyn âg ef, oblegyd y mae hòno yn berffaith a chyflawn ynddi ei hun. Mae gan yr hwn sydd yn credu fywyd tragywyddol; y mae yn Nghrist, ac yn blentyn Duw; y mae wedi ei gyfiawnhau yr eiliad y credodd, mewn modd cyflawn a sicr. Mae ffydd fel hyn yn ymwneyd â hanfod y bywyd newydd, ac felly yn un o delerau anhebgorol iachawdwriaeth; tra yr edrychir ar fedydd fel un o'i addurniadau a'i ffurfiau gweledig, yn delweddu y ffynnonell o'r hon y deilliodd, sef angeu y groes;—y llygredd, â'r hwn y mae yn ymwrthod;—a'r purdeb, at yr hwn y mae yn ymestyn. Ffydd yw gwreiddyn holl rasusau ereill y Cristion; ac yn undeb yr enaid â Christ trwy ffydd, y mae gwres eu bywyd ac adnoddau eu nerth yn llechu. (2 Pedr i. 5. Gal. v. 6. 1 Thes. i. 3.)

Pan y dywedir fod bedydd yn achub, neu yn golchi pechod, neu yn glanhau dyn, fe olygir ei fod yn gwneyd hyny mewn ystyr *ddadganiadol trwy arwyddlun.*

Cawn amryw o engreifftiau yn y Beibl o'r hyn a olygwyf wrth yr ystyr ddadganiadol *(declarative sense).* Yr oedd Jeremiah wedi ei osod gan Dduw ar genedloedd a theyrnasoedd er *diwreiddio* a *dinystrio* rhai o honynt, ac i *blanu* ac *adeiladu* rhai ereill; hyny yw, i *gyhoeddi* neu *ragfynegi* cwymp rhai, a dyrchafiad a llwyddiant ereill. (Jer. i. 10.)

"Mae y llythyren yn lladd, ond yr ysbryd sydd yn bywhau,"—hyny yw, y mae y ddeddf yn bygwth marwolaeth i'r troseddwr, a'r efengyl yn addaw bywyd i'r neb a gredo; mae y naill a'r llall yn *dadgan* yr hyn a briodolir iddynt fel gweithred. (2 Cor. iii. 6.)

"Y gwaed hwn a wna gymmod dros yr enaid," ebe yr Arglwydd am waed yr aberthau; hyny yw, yr oedd y gwaed yn *dadgan* hyny yn arwyddluniol. (Lef. xvii. 11.)

"Y pethau a lanhaodd Duw, na alw di yn gyffredin;" hyny yw, y pethau a *gyhoeddodd* Duw *yn lân.* (Act. x. 15.)

"Ac wele ogoniant Duw Israel......ac yr oedd yn ol gweślediad y weledigaeth a welais......pan ddaethum (ebe Ezeciel) i *ddifetha* y ddinas,"—hyny yw, i *brophwydo* neu *ragfynegi* ei dinystr. (Ezec. xliii. 2, 3.)

Mae bedydd yn achub mewn ystyr gyffelyb, hyny yw, y mae yn *dadgan fod y bedyddiedig yn gadwedig;* oblegyd un wedi credu ydyw, un wedi ei gyfiawnhau, un wedi ei uno â Christ, ac un sydd yn ymgyssegru yn wirfoddol i'w waith; a lleferydd y claddu a'r codi, a'r broffes a'r cyffesu yn y bedydd yw,—*fod y fath un yn gadwedig.*

Ond y mae bedydd yn dadgan hyn, nid yn unig trwy y ffaith fod y bedyddiedig yn proffesu ei fod yn derbyn Crist fel Iachawdwr, ac yn

ymrestru o dan ei faner, ond hefyd *trwy yr arwyddlun neu arwyddocâd y weithred ei hun.*

"Cyfod, bedyddier di (*baptisai*=cais dy fedyddio, 1. *a. Imperative, Middle*), a golch ymaith dy bechodau,"—hyny yw, mewn arwyddlun, er dangos fod yr enaid yn barod wedi cael ei olchi yn ngwaed Crist: "gan alw ar enw yr Arglwydd," o'r hwn yr oedd ei iachawdwriaeth yn deilliaw. (Act. xxii. 16.)

"A hyn fu rai o honoch chwi, eithr chwi a olchwyd (*apelousasthe* =a barasoch gael eich golchi,—*ye got yourselves washed*, 1. *a. Middle*) —yn y bedydd, fel arwyddlun o'ch glanhad oddiwrth eich aflendid moesol trwy waed Crist.

"Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân,"—hyny yw, fe ddangosodd Duw trwy ein suddiad a'n hadgyfodiad yn y bedydd, fod ein henaid yn flaenorol wedi cael ei achub a'i adnewyddu gan yr Ysbryd Glân. (Tit. iii. 5.)

"Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hwn sydd yr awr hon yn ein hachub ninnau, sef bedydd (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd [*fel y gallai yr anwybodus dybied oddiwrth gladdiad y bedyddiedig mewn dwfr, yr hyn nid yw ond arwyddlun o buredigaeth flaenorol yr enaid trwy waed Crist*], ond ymofyniad cydwybod dda am Dduw), trwy adgyfodiad Iesu Grist." (1 Pedr iii. 21.)

"Wedi gollwng dros gof ei lanhau oddiwrth ei bechodau gynt,"— yn yr arwyddlun, mae'n debygol, yn y bedydd. (2 Pedr i. 9.)

Mae bedydd fel hyn yn arwyddlun o'n glanhad a'n puredigaeth. Mae yr elfen ddwfr ei hun yn elfen bureiddiol, ac y mae ein claddiad ynddi, a'n hadgyfodiad o honi yn y weithred o fedyddio, yn arwyddo toriad y cyssylltiad â llygredd, a genedigaeth ac ymgyssegriad i fywyd o santeiddrwydd.

"Fe gedwir mewn bedydd, (ebe Dr. Chase,) yn llawnder ei arwyddocâd, y meddylddrych o lanhad neu buredigaeth; oblegyd y mae y dwfr ei hun yn yr hwn y cleddir ni yn elfen bureiddiol. Yn ffugyrol y mae fel hyn (yn y bedydd) olchiad ymaith bechodau,— math o fwrw ymaith gorph y tueddiadau pechadurus, ac fel pe byddai y dodiad o hono yn y bedd,—o'r hwn, yn yr arwyddlun yma, yr ydym yn dyfod allan fel yn fyw o blith y meirw, i rodio mewn newydd-deb buchedd, ac yn y diwedd i fyned i mewn i'r bywyd tragywyddol."

Dichon fod cyfeiriad at fedydd fel arwyddlun o buredigaeth, yn Heb. x. 22., lle y sonir am olchi y corph â dwfr glân:—yn llythyrenol, "Wedi cael ein baddio (=*ein trochi*, Gr. *leloumenoi*) gyda golwg ar y corph mewn dwfr glân." Mae yn debyg fod y gair "glân" yma (Gr. *katharos*) yn golygu *pur, pureiddiol, puredigol;* yr un gair ydyw ag sydd yn y LXX yn Ezec. xxxvi. 25.,—"Mi a daenellaf arnoch ddwfr glân," lle y golyga, fel y dengys yr Hebraeg, (*maim tehorim*)

ddwfr pureiddiol, gan gyfeirio at ddwfr puredigaeth o dan y ddeddf, â'r hwn yr oedd lludw yr anner goch yn gymmysgedig. (Num. xix. 11—22.)

Mae taenellwyr, gan mwyaf, yn honi mai hyn yw prif arwyddocâd bedydd, a bod taenelliad yn ei osod allan mor effeithiol a throchiad. Dichon fod gwaith taenellwyr yn haeru mai hyn yw prif arwyddocâd bedydd, gan annghydnabod ei agweddau ereill, wedi bod yn achlysur i'r Bedyddwyr esgeuluso i raddau yr agwedd yma o'r pwnc, wrth ddwyn tystiolaeth i'w agweddau ereill mwy arbenig, eglur, a diammheuol. Nid ydynt, modd bynag, yn ddiystyr o'r Ysgrythyrau sydd yn cyfeirio ato o dan yr agwedd hon; a chredant fod yr holl gyfeiriadau ato fel arwyddlun puredigaeth yn rhagdybied mai credinwyr yw y deiliaid, ac mai trochiad yw y dull.

Er fod taenellwyr yn gyffredin yn dysgu y gwna taenelliad dwfr arwyddo puredigaeth yn gystal a throchiad, mae yn dra ammheus *pa un a ydyw y Beibl, yn unman, yn gosod allan y meddylddrych o buredigaeth trwy daenelliad dwfr* ar ddyn neu ar unrhyw wrthddrych arall. Yr oedd pob dwfr a daenellid o dan y ddeddf, ag y mae genym ni hanes am dano, yn gymmysgedig â gwaed. Yr oedd gwaed yr aderyn yn y dwfr a daenellid ar y gwahanglwyfus, (Lef. xiv. 1—7.) ac ar ei annedd; (Lef. xiv. 48—53.) a gwaed yr anner goch yn y dwfr a daenellid ar yr hwn a gyffyrddasai â chorph marw. (Num. xix.) Gelwir lludw yr anner goch, yr hwn a gymmysgid a'r dwfr, yn "bechaberth." (Num. xix. 9.) Gellid meddwl ar yr olwg gyntaf fod Ezeciel xxxvi. 25., yn erbyn yr hyn y dadleuwn drosto:—"Ac a daenellaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch lân: oddiwrth eich holl fryntni, ac oddiwrth eich holl eilunod, y glanhaf chwi." Ond geiriau ffugyrol yw y rhai hyn, yn golygu y cymhwysiad o drefn gras trwy waed Crist at gyflyrau dynion, fel ag i'w rhyddhau oddi tan arglwyddiaeth ac euogrwydd pechod, a'u dwyn i berffeithio santeiddrwydd yn ofn Duw, fel y dengys y ddwy adnod ganlynol. Mae cyfeiriad ynddynt at ddwfr puredigaeth o dan y ddeddf, yr hwn, fel y crybwyllwyd eisioes, oedd yn gymmysgedig â gwaed.

Tybia rhai eu bod yn gweled cyfeiriad at daenelliad fel dull bedydd yn y rhagfynegiad,—"*Felly y taenella efe genedloedd lawer; breninoedd a gauant eu genau wrtho ef; canys gwelant yr hyn ni fynegasid iddynt, a deallant yr hyn ni chlywsent.*" (Esai. lii. 25.) Ond nid oes cyfeiriad o gwbl yn y geiriau at fedydd. Os ydym i ddeall y ferf Hebreig *nazah* i olygu taenellu, fel yn y Cyfieithiad Awdurdodedig, gyda Barnes, Alexander, Henderson, Hengstenberg, a

Lowth, yr ystyr yw, *taenellu gwaed arnynt er eu puro, neu estyn i'r Cenedloedd* (fel y dywed Dr. Henderson,) *effaith puredigol ei waed ef.* (1 Pedr i. 2.) Ond y mae beirniaid galluog ereill yn ystyried nad taenellu yw ystyr y ferf o gwbl yn yr adnod hon. "Felly llawer o genedloedd a ryfeddant o'i blegyd ef," yw cyfieithiad y LXX. Ei hystyr yn ol Gesenius yw *llamu o lawenydd neu edmygedd;* yn ol Delitzsch, *crynu gan syndod.* "Byddant yn crynu ynddynt eu hunain gan syndod (ebe Delitzsch), gan fod, fel pe byddent, wedi eu gwefreiddio gan y cyfnewidiad rhyfeddol ag sydd wedi cymmeryd lle yn Ngwas y Jehofah." Pan y clywant fod y Dyoddefydd wedi cael ei ddyrchafu ar orsedd Duw, fe fydd cenedloedd lawer wedi ymgolli mewn syndod, a breninoedd a thywysogion yn cau eu genau mewn parch ac edmygedd, nes o'r diwedd y tyr eu dystawrwydd a'u hedmygedd allan mewn llais cân a moliant, gan ddywedyd, "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith." (Dad. v. 12.) Nid rhyfedd i Barnes, yn ei Esboniad ar Esaiah, gynghori ei frodyr i beidio defnyddio yr adnod hon fel un sydd yn ffafrio bedydd trwy daenelliad, gan nad oes cyfeiriad o gwbl ynddi at fedydd.

III. Sefydlwyd ef hefyd er bod yn achlysur o ddyddanwch i'r Cristion, ac o dystiolaeth iddo o ddiogelwch ei enaid, ar ddechreuad cyhoeddus ei yrfa grefyddol.

Mae Duw yn cyfarfod â'i blant ac yn gwenu arnynt ar dir ufydd-dod, a'u profiad yw fod gwobr lawer i'w chael o gadw ei orchymynion ef. Pan yr ymostynga dyn i fedydd gyda meddwl goleuedig a chalon ffyddiog, fe dderbynia dystiolaeth ei fod wedi cael ei symmud o farwolaeth i fywyd. Fe gaiff sicrwydd yn ei fynwes ei hun ei fod yn etifedd iachawdwriaeth; bydd Ysbryd Duw yn cyd-dystiolaethu â'i ysbryd ef ei fod yn blentyn i Dduw. Os nad ydyw y bedyddiedig yn mwynhau yr hyder a'r dyddanwch hwn, y mae hyny i'w briodoli naill ai i ddiffyg gwybodaeth ysgrythyrol, neu i ddiffyg ymroddiad i weddiau yn mlaen llaw, neu i ofn dyn, neu i feddwl annghymmeradwy ynddo ef ei hun; ond pan y mae credadyn gwirioneddol, gyda meddwl goleuedig yn yr Ysgrythyr a ffydd fywiog yn Ngwaredwr y byd, yn ymostwng i fedydd o gariad at yr Iesu, y mae Duw yn gwenu ar ei enaid. Mae y bedyddiedig o dan yr amgylchiadau hyn yn teimlo fod bedydd nid yn unig yn arwyddlun o olchiad ymaith bechod trwy waed Crist, ond hefyd yn achlysur ar yr hwn y mae Duw yn sibrwd wrtho ei fod yn blentyn mabwysiedig iddo ef.

Pan y mae dynion yn gwasanaethu Duw oddiar egwyddor o ffydd a chariad, y mae efe yn arfer gwenu ar eu heneidiau. Pan yr offrymodd Abel aberth trwy ffydd, fe wenodd Duw arno ef ac ar ei aberth. Pan yr aberthodd Noah i Dduw ar ol y diluw, fe aroglodd Duw arogl esmwyth arno, ac fe dyngodd na foddai efe y byd drachefn. Pan yr offrymodd Abraham Isaac, fe wenodd Duw ar ei ufydd-dod, ac fe bentyrodd ei fendithion arno ef. Pan y bedyddiwyd Mab Duw yn yr Iorddonen, fe agorwyd y nef, ac fe gyhoeddodd y Tad ei ymhyfrydiad Dwyfol yn ei Fab. Fe symmudwyd dallineb a phryder Saul o Tarsus pan y bedyddiwyd ef; ac fe lanwyd yr Eunuch a cheidwad y carchar â llawenydd yr iachawdwriaeth pan y cyd-gladdwyd hwynt gyda Christ yn y bedydd. Yn y bedydd mae y credadyn yn gweddio yn ddifrifol a thaer am wenau Duw arno, yn ol esiampl yr Iesu a Saul o Tarsus; mae ei gydwybod dda yn ceisio Duw ac yn ei gael, ac y mae yntau yn gorfoleddu yn Nuw ei iachawdwriaeth. I'r credadyn, y mae bedydd yn ymrwymiad gwirfoddol a difrifol i ymgyssegru yn drylwyr i Dduw a'i waith, ac yn ysgariad tragywyddol oddiwrth y diafol a'i weithredoedd; y mae yn arwyddlun gweledig o'i symmudiad o deyrnas y tywyllwch i deyrnas anwyl Fab Duw; y mae yn broffes gyhoeddus o'i ymlyniad wrth y Gwaredwr, ac o'i ffydd yn ffeithiau mawrion y prynedigaeth; ac y mae y Duw a wenodd ar aberth Abel ac ar ffydd Abraham, ac a agorodd y nefoedd ar adeg bedydd ei Fab, yn gwenu hefyd ar ei ufydd-dod yntau yn y bedydd, ac yn rhoddi tystiolaeth iddo fod ei bechodau wedi eu maddeu, a'i enaid wedi ei achub. Y mae yn cael tystiolaeth yn ei brofiad ei hun o wirionedd geiriau y Cyfryngwr,—"Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig." (Marc xvi. 16.)

Mae yr ysgrifenydd yn wastad yn ystyried fod credinwyr o enwadau ereill yn ysbeilio eu hunain o'r wobr o broffes wirfoddol o Grist yn y bedydd, ac o'r hyfrydwch nefolaidd ag mae yr Arglwydd wedi ei fwriadu i'w blant ar ddechreuad cyhoeddus eu gyrfa grefyddol, pan yn ei wisgo ef mewn proffes am danynt.

IV. Dyben arall ei sefydliad ydoedd, er bod yn foddion dylanwad santeiddiol ar y bedyddiedig am weddill ei oes.

Mae cofio ein proffes yn y bedydd yn gymhelliad i santeiddrwydd.

"Beth wrth hyny a ddywedwn ni? a drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel yr amlhao gras? Na ato Duw. A ninnau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn byw eto ynddo ef? Oni wyddoch chwi, am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef? Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y

Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd." (Rhuf. vi. 1—4.) "Wedi eich cydgladdu âg ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cydgyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw, yr hwn a'i cyfododd ef o feirw. Am hyny os cydgyfodasoch gyda Christ, ceisiwch y pethau sydd uchod, lle mae Crist yn eistedd ar ddeheulaw Duw." (Col. ii. 12. iii. 1.)

Mae yn amlwg oddiwrth eiriau Paul ei fod yn ystyried fod bedydd yn effeithio yn santeiddiol ar ddyn am weddill ei oes. Mae ufydd-dod y bedyddiedig wedi ei achub oddiwrth euogrwydd a pherygl yr anufydd; y mae cofio am ei ymrwymiad i Dduw yn y bedydd yn ei wneyd yn fwy gwyliadwrus yn erbyn pechod, yn rhoddi bywyd newydd yn ei ymdrechion, ac yn cyffroi ei sel gydag achos Crist; ac y mae cofio am wenau Duw arno yn ei fedydd yn ei gefnogi i ymddiried yn Nuw am y dyfodol, ac yn cryfhau ei ffydd; fel y mae bedydd, er na weinyddir ef ond unwaith, yn dyfod yn foddion gras i ddyn, ac yn dylanwadu yn achubol arno dros weddill ei oes, gan ei fod yn meddu dylanwad parhaus a santeiddiol ar y galon.

"Pan y bedyddir dyn, (ebe yr Anrhydeddus B. W. Noel,) y mae mil o attaliadau *(checks)* i bechu, a mil o gynnorthwyon *(aids)* i dduwioldeb yn cael eu hargymmeryd. Y mae ffydd, gobaith, a chariad, yn debyg o gael eu cadarnhau. O hyn allan, gan ei fod yn fwy hyf yn ngwaith Crist, ac yn fwy diysgog mewn egwyddor, y mae yn debyg o fod yn fwy defnyddiol yn y byd: ac mewn bywyd diweddarach, mor fynych y rhaid i'r weithred bwyllog hon o hunan-ymgyssegriad i Dduw ddyfod i'w feddwl, er gwrthsefyll temtasiwn, a chadarnhau pob egwyddor santaidd o'i fewn?"*

Mae gweled bedyddio dychweledigion yn effeithio yn ddaionus hefyd ar aelodau yr eglwys. Bendithiant Dduw wrth weled llwyddiant ar deyrnas Crist, ac ail-enynir eu sêl i ymladd brwydrau yr Arglwydd. Bydd gweled ereill yn cael eu bedyddio yn eu hadgofio am eu hymrwymiadau eu hunain yn eu bedydd, ac yn peri iddynt godi i fyny y dwylaw a laesasant; a llawer gwaith y bendithiwyd gwasanaeth bedydd er dychweliad gwrthgilwyr, a throedigaeth dirmygwyr. Darfu i soddiad y bedyddiedig yn y dwfr dynu dagrau o lygaid llawer edrychwr wrth feddwl am fawredd dyoddefiadau y Cyfryngwr, a gogwyddo eu calonau i'w geisio ac i ymddiried ynddo.

Mae yn ymddangos hefyd fod y ffaith fod y bedyddiedig wedi credu yn Nghrist, a'i broffesu yn y bedydd, yn gymhorth iddo agoshau at Dduw yn hyderus; beth arall all fod ystyr y geiriau canlynol?—

---

* Essay on Christian Baptism, pp. 275, 276.

"Am hyny, frodyr, gan fod i ni ryddid i fyned i mewn i'r cyssegr trwy waed Iesu, ar hyd ffordd newydd a bywiol, yr hon a gyssegrodd efe i ni trwy y llen, sef ei gnawd ef; a bod i ni Offeiriad mawr ar dŷ Dduw; nesâwn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi glanhau ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corph â dwfr glân." (Heb. x. 19—22.)

Byddai i gredadyn difedydd gofio pan yn ymwneyd â gwaith Duw, fod yr ordinhad o fedydd o dan ei draed, yn rhwym o gynnyrchu euogrwydd ynddo, a gwanychu ei hyder; tra, o'r tu arall, y byddai ymwybyddiaeth o ymdrech onest mewn dyn i ryngu bodd Duw yn mhob peth, yn ddirgel a chyhoeddus, yn ei waith yn derbyn Crist trwy ffydd a'i arddel trwy broffes, yn rhwym o fod yn ddefnydd hyder iddo. "Anwylyd, os ein calon ni'n condemnia, y mae genym hyder ar Dduw. A pha beth bynag a ofynom, yr ydym yn ei dderbyn ganddo ef; oblegyd ein bod yn cadw ei orchymynion ef, ac yn gwneuthur y pethau sydd yn rhyngu bodd yn ei olwg ef." (1 Ioan iii. 21, 22. Salm cxix. 4—6.)

V. Sefydlwyd Bedydd hefyd i fod yn fath o brofiedydd cymmeriad, er cadw eglwys Crist rhag llygredd.

Rhaid geni dyn drachefn, cyn y gall fyned i mewn i deyrnas Dduw. (Ioan iii. 3. 5.) Cenedl santaidd o gredinwyr, wedi eu galw allan o'r byd, a'u neillduo fel offeiriadaeth santaidd i'r Arglwydd, yw deiliaid y deyrnas hon. (Ioan i. 12, 13. xv. 19. xvii. 16. xviii. 16. Rhuf. i. 5—7. 1 Cor. i. 2. 1 Pedr ii. 9, 10.) Yn ol safon (*ideal*) y nefoedd, y mae pob un o'i deiliaid i feddu calon newydd, ac i adnabod Duw. (Heb. viii. 10—12.) Yn awr, y mae bedydd wedi ei fwriadu mewn rhan i gadw y deyrnas hon yn bur, ac i attal y rhai anedifeiriol i fyned i mewn iddi. Am hyny gofynir edifeirwch a ffydd yn yr ymgeiswyr am fedydd, a chyhoeddir y rhai amddifaid o'r cymhwysderau hyn yn annghymmeradwy. (Mat. iii. 6—8. Marc i. 4. xvi. 16. Act. ii. 38. viii. 36—38. x. 47.) Os gall dyn dystiolaethu ei fod yn credu, ac edifarhau, ac yn barod hyd y mae ynddo i wneyd ewyllys Duw, fe'i bedyddir; os ydyw yr hyn y proffesa, dyna ddeiliad newydd gwirioneddol wedi cael ei ddwyn i mewn i'r deyrnas; os nad ydyw, rhagrithiwr ydyw wedi ymlusgo i mewn trwy dwyll, fel Simon Magus gynt, a'i bechod ef yw hyny, ac nid diffyg yn y bedydd. Mae bedydd yr efengyl wedi ei fwriadu i gadw allan blant y cnawd o bob math o'r eglwys, ac i sicrhau derbyniad y gwir gredinwyr, a hwy yn unig.

Pe byddai bedydd Crist yn cael chwareu teg, fe wnelai gyssylltiad crefydd â'r wladwriaeth yn anmhossibl—fe ddarfyddai heresi yr

"adenedigaeth bedyddiadol," fe ddiflanai meichiafaeth gableddus y "tadau a'r mamau bedydd," ac fe gai plant credinwyr ac annghredinwyr yn mhlith Protestaniaid ryddid i farnu drostynt eu hunain yn nghylch hawliau bedydd arnynt, yn lle cael eu gosod mewn cyflwr anfanteisiol i ymchwiliad am y gwirionedd, trwy gael eu taenellu yn eu babandod. Tra mae bedydd babanod â thuedd ynddo i ddwyn y byd i mewn i'r eglwys, a'i llygru trwy ei chymmysgu â phlant y cnawd, mae bedydd Crist â thuedd ynddo i'w chadw yn bur a dilwgr. Yn ol hwn nid oes ond y gair yn unig i lywodraethu ynddi; nid oes neb ond rhai ailanedig i fyned i mewn iddi; nid oes neb heb adnabod Duw i fod yn mhlith ei deiliaid. O ran tuedd athrawiaeth bedydd y crediniol, ac amcan bedydd fel y ceir ef yn y Testament Newydd, fe fyddai eglwys Crist ar y ddaear mor lân oddiwrth y rhai drygionus a'r rhagrithwyr, ag ydyw yr eglwys orfoleddus yn y nef!

Mae yr ystyriaethau hyn yn dangos i ni bwysigrwydd bedydd yn nhrefn yr efengyl, a phwysigrwydd tystiolaeth y Bedyddwyr iddo.

*Dywedasom fod bedydd yn fath o brofiedydd cymmeriad.*

Nid camsyniad yw hyn. Gwelwyd rhai cyn hyn, yn enwedig rhai o safle barchus yn y byd, yn cydnabod ysgrythyroldeb egwyddorion y Bedyddwyr, ac yn awyddus i ymuno â hwynt, ond nas gallent feddwl am fyned i'r dwfr, a bod yn wrthddrychau gwawd cyhoeddus ar yr achlysur; gan roddi fel hyn fwy o bwys ar ddirmyg dyn nag ar gymmeradwyaeth Duw! Mae yn amlwg fod ordinhad ag sydd yn brawf rhy gryf i rai moethus ac ofnus fel y rhai hyn, yn perthyn i'r deyrnas nad ydyw o'r byd hwn; ac y mae y fath ymddygiad o eiddo dynion yn gwireddu geiriau yr Iesu, mai "yn anhawdd yr â y rhai y mae golud ganddynt i mewn i deyrnas Dduw," a bod "yn rhaid troi dynion a'u gwneyd fel plant bychain," cyn y gallant fod yn ddysgyblion iddo ef! (Gwel *Fuller's Practical Uses of Christian Baptism.)*

# ATTODIAD.

## I.

### ALEXANDER CAMPBELL AR "DDYBEN BEDYDD."

Fe welir fod y golygiadau a amddiffynir yn y Bennod flaenorol ar Ddyben Bedydd, yn gwrthdaro yn erbyn syniadau y diweddar Alexander Campbell a'i ddysgyblion. Dywed ein brodyr hyn fod bedydd yn ddolen yn nghadwyn iachawdwriaeth, fel y mae ffydd, edifeirwch, gweddi, a bywyd santaidd yn ddolenau ynddi, a bod esgeuluso y naill mor beryglus ag esgeuluso y llall.

Na ato Duw i mi ddweyd dim ag fyddo yn groes i ddysgeidiaeth y Beibl ar bwysigrwydd bedydd. Y pwnc yw—*Beth yw y ddysgeidiaeth hòno?*

Y parch mwyaf i fedydd yw rhoddi iddo y lle ag y mae y gair Dwyfol yn ei roddi iddo—dim mwy na dim llai. Ymddengys i mi fod gosod bedydd yn gydradd â ffydd yn gamarweiniol iawn, ac yn groes i natur ffydd, ac yn gwrthdaro yn erbyn athrawiaeth cyfiawnhad, gan roddi pwysigrwydd ar fedydd ag nad ydyw yn perthyn iddo.

Mae ffydd yn newid safle dyn ger bron Duw, trwy ei uno a Christ.

Bydd Duw yn edrych arno o hyn allan yn ei Fab, wedi ei wisgo yn nghyfiawnder ei Fab, ac yn gymmeradwy ynddo ef; edrycha ar ei bechodau wedi cael eu gosod, megys, ar y Mab, a'u cosbi yn ei gorph ef ar y groes; a chyfrifa berffeithrwydd ufydd-dod a rhinwedd angeu y Mab fel eiddo yr hwn a gredo ynddo. (Ioan i. 12. 29. iii. 18. Rhuf. vi. 1. viii. 8. 1 Cor. i. 30. 2 Cor. v. 21. Ephes. i. 6. Col. i. 22. 1 Pedr ii. 24.) Maddeuir ei bechodau yn y mynedol, a sicrheir maddeuant iddo yn y dyfodol, a gwneir ef yn etifedd bywyd tragywyddol. (Rhuf. iv. 5—8.) Y mae wedi ei olchi yn ngwaed yr Oen mor effeithiol, fel na fydd eisieu ei olchi drachefn yn dragywydd *yn yr un ystyr.* (Ioan x. 28. xiii. 10. Act. x. 43.)

*Nis gellir dweyd hyn am un gras arall.* Effaith ffydd yw edifeirwch; effaith ffydd yw gweddi; effaith ffydd yw bedydd; effaith ffydd yw

bywyd santaidd. Ffrydiau yn tarddu o ffynnon ffydd, blodau yn tyfu ar foncyff ffydd, a phelydrau yn deilliaw o lusern ffydd yw y rhai hyn, ac nid ydynt i gael eu desgrifio fel cydblanhigion â ffydd, gan mai ffrwythau ffydd ydynt oll. Ffydd yw gwreiddyn holl rasusau y Cristion, a chynnyrchydd ei ufydd-dod. (Gal. v. 6. 2 Pedr i. 5.)

FFYDD YW YR UNIG RAS SYDD YN CYFIAWNHAU, GAN EI FOD YN UNO DYN A CHRIST.

Grasusau dilynol i ffydd, a deiliedig o honi, yw pob gras ac ufydd-dod arall. Nis gallai bedydd, gan hyny, effeithio yr hyn a briodolir i ffydd, gan nad ydyw hyny yn bossibl yn ol ei natur a'i ddyben; *a chymmysgu pethau sydd â gwahaniaeth rhyngddynt, yw gosod bedydd allan fel yn meddu yr un safle a ffydd yn nhrefn fawr achub.* Mae ffydd yn hanfodol yn y drefn er achub, gan nad oes undeb â Christ hebddi; tra mae bedydd yn cael ei ddysgu fel moddion proffes o Grist, ac arwyddlun o ymgyssegriad i'w deyrnas. Nis gellir bod yn gadwedig heb ffydd. Gall Duw faddeu anufydd-dod i fedydd mewn credadyn, ond nis gall achub y diffydd. *Nid am fod haeddiant mewn ffydd, cofier, ond am fod ffydd yn uno dyn â Christ, ac felly yn foddion cyfiawnhad dyn ger bron Duw.* Fod bedydd yn cael ei ddysgu fel dyledswydd a braint pob credadyn, a'i ddysgwyl (o dan amgylchiadau arferol) oddiar law pob dysgybl i Grist, ac fod perygl o'i ddiystyru, sydd amlwg i bob darllenydd y Testament Newydd; (Mat. xxviii. 19. Marc xvi. 16. Act. ii. 39. Rhuf. vi. 4. Gal. iii. 18. Luc vii. 30. Act. iii. 22.) tra mae ei ystyried fel yn cymmeryd yr un lle â ffydd yn nhrefn iachawdwriaeth, yn cymmysgu y gras sydd yn cyfiawnhau â'i effeithiau.

Nid yw Marc xvi. 16. yn milwrio yn erbyn y golygiadau hyn, gan fod ffydd yn Nghrist yn rhagdybied ufydd-dod iddo; a bod anufydd-hau i fedydd, ac annghydffurfio â threfn yr efengyl, yn rhagdybied diffyg mewn ffydd, ac felly berygl o golli iachawdwriaeth.

I. ATHRAWIAETH A. CAMPBELL AR FADDEUANT PECHODAU.

Achosodd y diweddar enwog a thra galluog Alexander Campbell chwyldroad pwysig yn ngolygiadau llawer o Fedyddwyr, o barthed dyben bedydd. Ei ddyben arbenig yn ol ei ddysgeidiaeth ef yw—ER MADDEUANT PECHODAU.

Yr un ymadrodd meddir a geir yn Mat. xxvi. 28. am "er maddeuant pechodau," lle y gosodir allan *amcan* tywalltiad gwaed Crist, ag a geir yn Marc i. 4. ac yn Act. ii. 38., am "er maddeuant pechodau,"

lle y gosodir allan *ddyben* bedydd; ac os golyga y geiriau "er maddeuant pechodau" yn un lle, rhaid eu bod yn golygu hyny yn y lleoedd ereill. Cyfeiria A. Campbell at yr Ysgrythyrau canlynol, yn mha rai y defnyddir yr un gair *eis* (er), fel egluriadau a phrofion mai ei ystyr yw *er*, neu *mewn trefn i*, yr hyn, o ganlyniad, eb efe, a raid fod ei ystyr yn nglyn â bedydd;—Mat. v. 13. vi. 34. viii. 4. x. 18. xxvi. 13. xxvii. 7, 8. Luc ii. 34. iv. 43. ix. 3. 13. 62. xii. 19. xiv. 24. Act. vi. 5. 21. ix. 21. x. 4. xiii. 2. 47. xiv. 26. (*Christian Baptism.* By Alex. Campbell, p. 249.)

Darfu i iaith gref, hyawdledd annghymharol, ac eondra anffaeledig A. Campbell, a'i ymosodiad diarbed ar yr hen dduwinyddion ac esbonwyr, lygad-dynu llaweroedd, a pheri iddynt gredu fod rhyw ddylanwad achubol yn y bedydd ag nad oeddynt erioed wedi dychymmygu am dano o'r blaen.

Mae yn ofid nid bychan i'r awdwr i orfod gwahaniaethu oddiwrth ŵr mor enwog, a'r fath wron selog dros wirionedd Duw, ac efengyl Crist. Darllenodd amryw o Ddadleuon A. Campbell gydag edmygedd goruchel, a diolchgarwch pur i Ben yr eglwys am y wybodaeth ëang, a'r meddwl craff, a'r tafod ffraeth a roddasai iddo. Ystyria ei Ddadl â Robert Owen, bron fel cynnyrch hanner-ysbrydoledig; a'i Ddadl â'r Esgob Purcell, y dynoethiad mwyaf effeithiol o dwyll Pabyddiaeth a welodd erioed; a'i Ddadleuon â'r Parch. W. L. MacCalla a'r Parch. N. L. Rice, y dadganiad a'r amddiffyniad mwyaf eglur, galluog, a gorchestol o ddysgeidiaeth y Testament Newydd ar Ddull a Deiliaid Bedydd. Ond wrth ddarllen Rhan III. o'r Ddadl â Rice, sef yr adran ar Ddyben Bedydd, ac ar yr un pwnc yn ei "*Christian Baptism*," "*Christian System*," (London, 1843.) a "Maddeuant Pechodau," cefais fy siomi yn chwerw. Teimlwn fod sŵn efengyl arall yn yr hyawdledd mawr, a bod pêroriaeth iaith Canaan yn ymgolli mewn seiniau estronol.

Credwn ein bod uchod wedi rhoddi crynhodeb o ddysgeidiaeth A. Campbell yn gyffredin ar Ddyben Bedydd, mor llawn a theg ag y dymunai ei edmygwyr penaf. Dywedwn *ei ddysgeidiaeth yn gyffredin*, am y rheswm ei fod weithiau yn gwrthddweyd ei hun. Er engraifft:—

"Mae dwfr y bedydd, gan hyny, yn golchi ymaith bechod yn FFURFIOL *(formally)*. Gwaed Crist sydd yn WEITHREDOL *(really)* yn golchi ymaith ein pechodau. Yr oedd pechodau Paul wedi EU MADDEU YN WIRIONEDDOL *(really)* pan gredodd, eto ni chafodd efe DYSTIOLAETH DDIFRIFOL *(solemn pledge)* o'r ffaith, ddim rhyddhad *ffurfiol*, ddim golchiad ymaith bechod yn *ffurfiol*, nes y golchodd efe hwynt yn nwfr y bedydd." (*Debate on Baptism with MacCalla*, p. 116.)

"Yr wyf yn credu pan y gwna dyn amgyffred yr efengyl ac y cofleidia y Messiah yn ei enaid, *ei fod yn mlaen llaw yn derbyn y*

*fendith.* Y mae ei feddwl yn cael tangnefedd yn yr Arglwydd." "Y mae yn llawenychu â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus." "Y mae yn rhagflaenu diwedd ei ffydd—ei ryddhad gweithredol oddiwrth bechod. Yn ei galon y mae yn marw i bechod, a thrwy ei gladdiad a'i adgyfodiad gyda'r Arglwydd, y mae fel hyn yn ffurfiol yn derbyn yr hyn a gawsai yn flaenorol trwy ffydd mewn dysgwyliad."

"*Yr ydym yn derbyn maddeuant yn flaenorol trwy ffydd,* fel y gwnaeth Cornelius; a chyda sicrwydd eglur a thystiolaeth ddifrifol trwy fedydd."—*A Debate between Rev. A. Campbell and Rev. N. L. Rice, on the Action, Subject, Design, and Administrator of Christian Baptism, &c. American Edition,* 1844. Pp. 521, 522.

Mae y dyfyniadau hyn yn sylweddol yr un peth ag a ddywedasom ninnau yn nhudal. 252. 255, a'r un peth ag a ddysgai yr hen Fedyddwyr erioed; ac os hyn oedd barn ystyrbwyll A. Campbell, nid ydym yn deall yr achos o'r ymraniad a'r ymddidoliad. Ond y mae darnau ereill yn ngweithiau A. Campbell yn dysgu yn wahanol iawn, ac fel yn priodoli rhyw ddylanwad cyfriniol ar yr enaid i'r weithred o fedyddio. Wele ychydig o engreifftiau:—

"Pa beth bynag a all gweithred ffydd fod, y mae hi o angenrheidrwydd yn dyfod yn llinnell wahaniaethol rhwng y ddwy sefyllfa a ddesgrifiwyd o'r blaen. Yr ochr hyn, a'r ochr arall, y mae dynolryw mewn dwy sefyllfa hollol wahanol. Ar un ochr, *y maent wedi derbyn maddeuant, wedi cael eu cyfiawnhau, eu santeiddio, eu cymmodi, eu mabwysiadu, a'u hachub;* ar y llall, *y maent mewn cyflwr o gondemniad. Gelwir y weithred hon weithiau* TROCHIAD, AILENEDIGAETH, DYCHWELIAD; ac fel yr ymddangoso hyn yn eglur i bawb, ni a gymmerwn drafferth i'w brofi a'i egluro."—*Debate with Rice,* p. 479. "*Maddeuant Pechodau,*" gan A. Campbell, cyfieithiedig gan John Williams. Tudal 18. Wrexham, 1839.

"Pan drochwyd Paul, dywedid a deallid gan y pleidiau (*by the parties*), fod *ei holl bechodau blaenorol wedi cael eu golchi ymaith yn y weithred o drochiad.*"

"Beth a wnaeth i'r Eunuch fyned ar hyd ei ffordd ei hun yn llawen? Yr oedd wedi cael yr hyn a brofasai miloedd o'i flaen, heddwch gyda Duw, o'r argyhoeddiad *fod ei bechodau wedi cael eu maddeu* YN WEITHREDOL (*actually forgiven*) *yn y weithred o drochiad.*"

"Yn yr hen efengyl, ffydd yn Iesu oedd gyntaf; yna trochiad; yna maddeuant; yna heddwch â Duw; yna llawenydd yn yr Ysbryd Glân."

Gwnaeth Pedr "edifeirwch neu ddiwygiad a throchiad, y NAILL MOR ANGHENRHEIDIOL A'R LLALL I GAEL MADDEUANT (*equally necessary to forgiveness*)."

"Ni orchymynodd Pedr iddynt *i gredu*—yr hyn sydd brawf eu bod *wedi* credu. Yn awr, gofynaf, pa fodd y gallai efe orchymyn i gredinwyr geisio maddeuant, os *yw maddeuant a ffydd yn gydamserol?*"—*Debate with Rice,* pp. 524, 525. 535.

"Yr ydym yn cael ein gorfodi i gredu fod bedyddiadau y Testa-

ment Newydd er maddeuant *gwirioneddol, gweithredol*, a *ffurfiol* (*true, real*, and *formal*) o bechodau trwy ffydd yn y Messiah, ac edifeirwch didwyll tuag at Dduw."—*Christian Baptism*, p. 258.

"Nis gellir derbyn, neu fwynhau maddeuant pechodau, yn y bywyd hwn, yn flaenorol i drochiad."—"*Maddeuant Pechodau*," tudal. 35.

Yn ol duwinyddiaeth Alexander Campbell, gan hyny, y mae bedydd yn cymmeryd yr un lle yn nhrefn achub, a'r un mor anghenrheidiol i gael maddeuant pechodau ac adferiad i ffafr Duw, ag ydyw ffydd ac edifeirwch. Ofnwn fod *tuedd* yn y ddysgeidiaeth hon, a dweyd y lleiaf am dani, i ddwyn dyn i edrych at fedydd am iachawdwriaeth yn lle at Grist—camsyniad a roddodd fodolaeth i Fedydd Babanod a Thaenelliad! Credwn, fel y sylwyd yn nhudal. 248., FOD BEDYDD YN ANHEBGOROL I BROFFES REOLAIDD O GRIST YN OL Y TESTAMENT NEWYDD, OND NID I GAEL MADDEUANT PECHODAU. Mae maddeuant yn eiddo pob un a gredo yn y Mab yr adeg y credo, *er y gall gael profiad mwy hyfryd o hono pan yn ymostwng i fedydd yr efengyl*, gan mai arfer y nefoedd yw gwobrwyo dyn ar dir ufydd-dod.

II. RHESYMAU DROS BEIDIO DERBYN EI ATHRAWIAETH.

Wrth ddarllen gwaith Alexander Campbell ar Ddyben Bedydd, yr oedd y gwrthddadleuon canlynol yn erbyn ei osodiadau yn ymgodi yn ein meddwl:—

1. Nid *er, mewn trefn i*, (*for, in order to*,) yw ystyr yr arddodiad *eis* yn mhob man.

Golyga yn fynych, *gyda chyfeiriad at, gyda golwg ar*:—

Mat. xxvi. 10.—"Canys hi a weithiodd weithred dda arnaf," (Gr. *eis eme*=gyda golwg arnaf.)
Gal. iii. 17.—"Yr ammod a gadarnhawyd o'r blaen gan Dduw yn Nghrist," (Gr. *eis Christon*=gyda golwg ar Grist.)
1 Thes. iv. 10.—"Oblegyd yr ydych yn gwneuthur hyn i bawb (Gr. *eis pantas*=gyda golwg ar bawb) o'r brodyr."
Gwel hefyd Rhuf. xii. 16. Eph. v. 32. Heb. vii. 14, &c.

2. Ni fyddai cyssondeb i gyfieithu *eis* i olygu *mewn trefn i*, yn mhob man y defnyddir ef gyda bedydd.

Mat. iii. 11.—"Myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio chwi â (ἐν=*mewn*) dwfr i (*eis*) edifeirwch." Nid *er mwyn cael edifeirwch*, bid sicr, fel y dywedir mai *er mwyn cael maddeuant* yw ystyr yr ymadrodd cyffelyb yn Act. ii. 38., ond er ymgyssegriad gweledig i'r bywyd newydd ag oeddynt eisioes wedi ei ddechreu.

3. Fod dysgeidiaeth A. Campbell yn groes i'r Testament Newydd ar amrywiol bwyntiau.

(1,) *Ffydd fel moddion cyfiawnhad.*

"Yr apostol Pedr, wrth gyhoeddi yr efengyl y tro cyntaf i'r Iuddewon, a'u dysgai nad oeddynt wedi cael maddeu eu pechodau trwy ffydd, ond trwy weithred o eiddo ffydd,—trwy drochiad crediniol i'r Arglwydd Iesu."—"*Maddeuant Pechodau,*" tudal. 20.

"Nid yw dyn i gael ei gyfiawnhau neu ei achub trwy ffydd yn unig."—*Debate with Rice*, pp. 505. 509. 555.

"Mae cyfiawnhad yn cael ei gyssylltu mewn rhyw ystyr â saith o achosion. Dywed Paul fod dyn yn cael ei gyfiawnhau

(1,) Trwy *ffydd.* (Rhuf. v. i. Gal. ii. 16. iii. 24.)
(2,) Trwy *ras.* (Rhuf. iii. 24. Tit. iii. 7.)
(3,) Trwy *waed Crist.* (Rhuf. v. 9.)
(4,) Trwy *enw* yr Arglwydd, a thrwy *Ysbryd* Duw. (1 Cor. vi. 11.)
(5,) Trwy *Grist.* (Gal. ii. 16.)
(6,) Trwy *wybodaeth.* (Esai. liii. 11.)
(7,) A thrwy *weithredoedd*, yn ol Iago. (ii. 21.)

"Fel hyn trwy awdurdod Ddwyfol, y mae cyfiawnhad yn cael ei gyssylltu, mewn rhyw ystyr, fel effaith i saith o achosion; sef Ffydd, Gras, Gwaed Crist, Enw yr Arglwydd, Gwybodaeth, Crist, a Gweithredoedd. Oni ellir gofyn, gan hyny, Paham y mae cynnifer yn dewis ond un o'r pethau hyn yn unig, fel yn hanfodol i gyfiawnhad? Mae hyn yn un o'r profion o drais sectyddiaeth." (*Christian Baptism*, p. 279. *Debate with Rice*, p. 508. "*Maddeuant Pechodau,*" tud. 79. *Christian System,*" p. 263.)

Ystyriwn y feirniadaeth hon yn ddernyn pwdr iawn, ac yn hollol analluog i ategu athrawiaeth A. Campbell.

(*a*,) Golyga "*gwybodaeth*" yn Esai. liii. 11, naill ai *doethineb* y Duwdod yn cynllunio y drefn, neu, yr hyn sydd fwyaf tebygol, yr *efengyl*, fel y *wybodaeth yn ei gylch ef.* (Gwel Henderson, Alexander, Barnes, &c., ar y lle.)

(*b*,) Golyga "*gras*" (Rhuf. iii. 24.) radioni y drefn wedi ffynnonellu yn nghariad tragywyddol, a thosturi anfeidrol y Duwdod.

(*c*,) Yr un peth mewn gwahanol eiriau yw "gwaed Crist," "enw yr Arglwydd," a "Christ," uchod o dan (3,) (4,) (5,) yn golygu fod yr Arglwydd Iesu trwy dywallt ei waed drosom, wedi dyfod yn Achosydd haeddiannol, ac Awdwr gweithredol ein hiachawdwriaeth.

(*d*,) Golyga "trwy Ysbryd ein Duw ni" ddylanwad yr Ysbryd Glân yn dwyn dyn i gofleidio trefn yr iachawdwriaeth.

(*e*,) Nid yw Paul a Iago yn son am gyfiawnhad yn yr un ystyr. Son am gyfiawnhau pechadur ger bron Duw, y mae Paul; son am gyfiawnhau crefyddwyr ger bron dynion, y mae Iago; ffydd oedd y gras ag oedd yn effeithio cyfiawnhad ger bron Duw, trwy ei bod yn uno dyn â Christ, a'i ddwyn i lechu o dan gysgod ei waed ef. Gweithredoedd da yw yr unig beth a brofa i ddynion fod dyn yn flaenorol wedi cael ei gyfiawnhau ger bron Duw, a bod ei ffydd yn ffydd fywiol a gweithgar. Cyfeiria Paul a Iago at Abraham i egluro eu pwnc—Paul at hanes Abraham yn credu, er cael ei gyfiawnhau ger bron Duw trwy ffydd; a Iago at hanes Abraham 20 neu 25 mlynedd yn ddiweddarach, er egluro fod gwir ffydd yn profi ei bodolaeth fywiol, a'i thuedd santaidd, trwy alluogi ei meddiannydd i ufyddhau i Dduw, a chadw ei orchymynion ef.

Ond er ceisio profi cywirdeb ei olygiadau ei hun ar ffydd, ac i egluro nad ydyw ffydd yn bwysicach na rhyw ras arall yn nhrefn achub, fe ddychymmyga A. Campbell yr hanesyn cyffrous a dyddorol a ganlyn:—Fe dybir fod llongddrylliad wedi cymmeryd lle, a bod y morwyr yn glynu wrth ddarnau y llong; a bod rhyw ddyngarwr ar y làn yn eu gweled, ac yn galw ar ei fab i gymmeryd cwch, a phrysuro i waredu y rhai oedd mewn perygl. Wedi cyrhaedd y fan, gorchymyna y mab iddynt ymaflyd yn ei fraich, a chynnorthwya hwynt i ddyfod i'r cwch. Y maent yn ufyddhau ac yn dyfod i mewn, a chan ymaflyd yn y rhwyfau, y maent yn ei gynnorthwyo yntau i rwyfo y cwch yn ol, ac felly fe achubir pawb.
Mewn canlyniad, dywed un eu bod wedi cael eu hachub gan y dyngarwr ar y traeth; dywed arall, mai ei fab a'u hachubodd; dywed y trydydd, mai y cwch a'u gwaredodd; arall, mai y weithred o fyned i mewn i'r cwch; ac arall, mai eu gwaith eu hunain yn rhwyfo i'r làn a'u diogelodd; tra y dywed athronydd, eu bod wedi cael eu hachub gan yr holl bethau hyn gyda'u gilydd.—*Christian Baptism*, pp. 281, 282. *Debate with Rice*, p. 508.

Fe welir, modd bynag, *mai ar y weithred o fyned i'r cwch yr oedd eu gwaredigaeth weithredol yn ymddibynu, ac y buasai pob ymdrech a darpariaeth yn troi allan yn fethiant heb hyny.* Mae ffydd yn Nghrist yn cyfateb i'r weithred o fyned i mewn i'r cwch. Mae Duw wedi darparu trefn achub ei hunan: mae y llong wedi cael ei dwyn gan Dduw ei hun i ymyl y rhai sydd wedi dyoddef llongddrylliad y cwymp; mae galwad ar y rhai sydd mewn perygl i ddyfod i mewn iddi, a chymmeryd gafael yn y bywyd tragywyddol; tra mae myrdd yn anufyddhau, mae llawer yn cydsynio, ac yn myned trwodd o farwolaeth i fywyd, o dir damnedigaeth i dir iachawdwriaeth, ac o dlodi hunangyfiawnder dyn i urddas a diogelwch cyfiawnder Crist. Wedi dyfod i mewn i'r llong hon, mae y credadyn mwyach mewn diogelwch, o dan lywyddiaeth Tywysog ei iachawdwriaeth.

Ond pa gyssondeb sydd mewn darlunio cariad tragywyddol Duw, ac angeu iawnol y groes, a gwaith yr Ysbryd Glân, ar un llaw, a'r weithred o gredu, ac ufydd-dod i fedydd, a thori bara, a santeiddrwydd ymarferol, ar y llaw arall,—fel dolenau cydbwys yn nghadwyn iachawdwriaeth! Cymmysgu y Dwyfol â'r dynol, gweithredoedd Duw â gweithredoedd dyn, achos âg effaith, yw peth fel hyn. Gwell gadael cymhariaeth y gadwyn, ac ymgodi at ddeddf achos ac effaith, ac edrych ar y drefn fawr

(1,) Yn ei ffynnonell—cariad tragywyddol Duw:

(2,) Yn ei hachos effeithiol a haeddiannol—ymgnawdoliad, ufydd-dod, ac angeu Mab Duw:

(3,) Yn ammod ei derbyniad—ffydd:

(4,) Yn ei heffeithiau ymarferol—proffes o Grist yn y bedydd, ac ufydd-dod calonog i'w holl orchymynion ef.

Mae y casgliad yn deg a diogel gan hyny, MAI TRWY FFYDD YN UNIG Y CYFIAWNHEIR DYN GER BRON DUW, AC NA DDYWEDIR HYN YN YR UN YSTYR AM UN GRAS ARALL.

(2,) *Natur cyfiawnhad.*

Nid yw yn hawdd deall beth a olyga A. Campbell wrth gyfiawnhad pechadur; ond mor bell ag y gallaf ddeall ei ymdriniad âg ef, ymddengys mai *cymmeradwyaeth Duw i waith dyn yn ymostwng i Grist yn y bedydd ydyw.* Fel hyn yr ysgrifena :—

"Cyfiawnhad trwy ffydd yn Nghrist, gan hyny, yw yr ymgorphoriad o olygiadau mewn perffaith gydgordiad â gwirionedd, â'n cyflwr, ac â holl gymmeriad dadguddiedig Duw, a'r hyn sydd o anghenrheidrwydd yn tueddu i ostyngeiddrwydd, diolchgarwch, duwioldeb, a dynoliaeth."

"Mae (bedydd) yn ddadganiad cyhoeddus, teimladwy, a gwirfoddol o'n ffydd yn Nghrist, yn ymgorphoriad gweledig o ffydd, â'r hon, yn cael ei pherffeithio fel hyn, y mae yr addewid o faddeuant pechodau wedi cael ei Dwyfol gyssylltu. Mewn gair, *ffydd wedi ei pherffeithio ydyw.* O ganlyniad, pan y mae Paul yn dadblygu ei fendithion, dywed, 'Eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a santeiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhawyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni.' (1 Cor. vi. 11.) Fel hyn, y mae cyfiawnhad, santeiddhad, a mabwysiad—tair rhodd werthfawrocaf efengyl—yn cael eu cyssylltu yn efengylaidd â ffydd yn yr Arglwydd Iesu, a bedydd i'w farwolaeth ef."—*Christian Baptism*, pp. 283, 284.

"Ystyriwyf, gan hyny, ein bod yn cael ein darlunio yma (1 Cor. vi. 11.), megys ag yn yr Ysgrythyrau ereill, fel yn cael ein cyfiawnhau

trwy enw yr Arglwydd, *gan gredu ynddo*, yn y bedydd; a'n bod hefyd yn cael ein santeiddio gan yr Ysbryd."—*Debate with Rice*, p. 519.

Credwn yn sicr fod golygiadau Paul ar gyfiawnhad yn wahanol iawn i'r syniadau hyn, a'i fod ef yn edrych ar gyfiawnhad pechadur fel gweithred oruchel o eiddo Duw gyda golwg ar ddyn, yn ei gymmeradwyo yn Nghrist yr eiliad y creda yn y Gwaredwr, gan faddeu iddo ei holl bechodau, a'i wneyd yn etifedd bywyd tragywyddol; fel y mae y gwir gredadyn, mewn gwirionedd, "WEDI EI GYFIAWNHAU" (fel y dywedir am y publican, Luc xviii. 14.) a'i achub cyn ei fedyddio, er ei fod yn ei fedydd yn cael tystiolaeth adnewyddol i'w brofiad o drugaredd Duw tuag at ei enaid, a derbyniad helaethach o ysbryd y mabwysiad.

(3,) *Rhagorfraint y credadyn.*

Mae golygiad A. Campbell ar "fedydd er maddeuant pechodau" yn peri iddo roddi esboniad annaturiol ar amryw ranau o'r Testament Newydd, rhag iddo wrthddweyd ei hun.

"Yr hwn sydd yn credu, y *mae* ganddo fywyd tragywyddol. Yr wyf fi yn dywedyd, mewn *rhodd*, mewn *addewid*, o fewn ei gyrhaedd, ond nid eto wedi ei gynnysgaethu âg ef. Dywed Ioan Fedyddiwr, (Ioan iii. 36.) 'Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol;' tra y dywed Marc (x. 30.) 'Nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu frodyr, &c., o'm hachos i a'r efengyl, a'r ni dderbyn y can' cymmaint yr awr hon, y pryd hwn, ac *yn y byd a ddaw* fywyd tragywyddol.' "—*Debate with Rice*, p. 510.

Gwell o lawer, debygem, yw cymmeryd y geiriau "*y mae ganddo*," i olygu meddiant presennol o fywyd tragywyddol o ran ei *elfenau* a'i *hanfodion*, yr hwn sydd i gael ei ddadblygu a'i berffeithio yn y byd a ddaw. (Ioan iv. 14. 1 Ioan iii. 2.)

Yn ol A. Campbell, nid oedd gan Cornelius wybodaeth achubol o'r Arglwydd Iesu, ac nid ydoedd yn *gadwedig* yn ol yr efengyl cyn ymweliad Pedr âg ef. (*Debate with Rice*, pp. 484. 497.) Mwy cysson o lawer â'r Beibl yw ystyried fod ganddo yn flaenorol wybodaeth achubol o Dduw fel Duw'r maddeu trwy Gyfryngwr, a'i fod yn gadwedig trwy ffydd yn hwnw; ond mai ffydd debyg i ffydd duwiolion yr Hen Destament ydoedd—ffydd mewn Messiah i ddyfod; a bod Pedr yn ei ddysgu fod y Messiah ag yr oedd efe yn edrych am dano wedi dyfod i'r byd, a bod eisieu iddo ef dderbyn a phroffesu Iesu o Nazareth fel y cyfryw. Ni fuasai Duw yn gwrando y diffydd, nac yn anrhydeddu y diras fel yr anrhydeddodd ei was Cornelius.

(4,) *Bedydd fel moddion proffes, ac arwyddlun o ymgyssegriad i waith yr Arglwydd.*

Er mwyn rhoddi pwys ar ddyben bedydd fel ammod maddeuant pechodau, tueddir A. Campbell braidd i lefaru yn ysgafn am dano fel moddion proffes o Grist:—

"Mae gan rai y fath amgyffrediad plentynaidd ac annigonol o'r bedydd Cristionogol, fel ag i'w ystyried ond math o arweiniad defodol i mewn i'r eglwys—ffordd i wneyd proffes o'r grefydd Gristionogol, heb effeithio mewn un modd ar gyssylltiadau ysbrydol y deiliad. Dylasai y golygiad yma o hono gael ei osod allan trwy y fath orchymyn a'r un canlynol:—'Edifarhewch a bedyddier pob un o honoch, er derbyniad i'r eglwys.' Ond nid oes y fath orchymyn mewn na ffurf, na sylwedd, nac ystyr, i'w gael yn llyfr Duw ei hun." —*Christian Baptism*, p. 256.

Edrycha Paul, modd bynag, ar fedydd fel moddion proffes, a chyfeiria at broffes y Rhufeiniaid a'r Colossiaid yn eu bedydd fel *rheswm* dros eu cymhell i santeiddrwydd ymarferol. (Rhuf. vi. 1—5. Col. iii. 1.) Yn 1 Cor. xii. 13. dywed ein bod oll trwy ddylanwad yr un Ysbryd Glân wedi cael ein bedyddio i un corph—er bod yn un corph, er ymuno â chynnulleidfa yr Arglwydd mewn ffordd reolaidd trwy broffes weledig.

(5,) *Dychweliad at Dduw ac Ailenedigaeth yn cael eu gosod allan fel y weithred o drochiad.*

Dadleua A. Campbell yn egniol mai trochiad a olygir yn y Testament Newydd, pan y sonir am ddychweliad at Dduw. Mae "dychwelwch" yn y frawddeg, "Edifarhewch, gan hyny, a dychwelwch," (Act. iii. 19.) yn gyfystyr, eb efe, ag "Edifarhewch, gan hyny, a *throcher chwi.*"

Ar ol dydd y Pentecost, "Pan ddywedai Cristion, '*Dychwelwch,*' neu '*Trowch at Dduw,*' gwyddai pob Iuddew (ebe A. Campbell,) mai y weithred o wisgo y Messiah ydoedd yr un a fwriedid."—*Christian System*. London, 1843. p. 209. *Maddeuant Pechodau*, tudal. 21, 22. "Trochiad yn unig oedd y weithred o droi at Dduw." "Ni ddywedid fod neb wedi ei ddychwelyd, neu ei droi at Dduw, nes iddo gael ei gladdu yn y dwfr, a'i godi o hono. Nis gellir dweyd mewn ystyr ysgrythyrol fod neb wedi ei ddychwelyd at Dduw nes ei drochi. Pa fodd y mae y gwŷr eglwysig yn dehongli eu hiaith eu hunain, ni'n dawr. Yr ydym ni yn dadleu dros yr iaith bur, a'r meddylddrychau apostolaidd a gyssylltir wrthi."—*Maddeuant Pechodau*, tudal. 36, 37.

Mae y dyfyniadau hyn yn dangos hyder ddiysgog A. Campbell yn anffaeledigrwydd ei farn ei hun, a'i ddrwgdybiaeth arferol o'r "gwŷr

eglwysig," ac o "drais sectyddiaeth."* Ofnwn, modd bynag, fod "meddylddrychau apostolaidd" A. Campbell yn y dyfyniadau hyn yn wahanol iawn i "ystyr ysgrythyrol" y geiriau "troi" a "dychwelyd at yr Arglwydd" yn y Beibl ei hun.

Mae yn anhygoel ac afresymol i dybied mai ymostwng i drochiad a olygai Iuddew, pan y gelwid arno gan yr apostolion i droi at Dduw. Ymddengys i ni yn berffaith sicr *y deallai Iuddewon yr alwad i droi at Dduw yn yr un ystyr ag y gelwid arnynt trwy y prophwydi i droi at Dduw, sef mewn edifeirwch ac ymostyngiad; i ddysgu, ar ol dychwelyd ato fel hyn, fanylion ei ewyllys.*

Defnyddir y ferf *epistrepho*, yr hon a gyfieithir "*dychwelwch*" yn Act. iii. 19., yn y LXX mewn llawer o leoedd, yn mha rai y golyga droedigaeth yr enaid at Dduw, dychweliad y galon ato ef, ac ymostyngiad yr holl ddyn i'w ewyllys ef. Nodwn ychydig o engreifftiau:—

1 Sam. vii. 7. "Os *dychwelwch* chwi at yr Arglwydd â'ch holl galon," &c.
1 Bren. viii. 33. "Pan darawer dy bobl Israel o flaen y gelyn, am iddynt bechu yn dy erbyn di, os *dychwelant* atat ti," &c. (2 Chron. xxiv. 19. xxx. 9.)
Esai. xlv. 22. "*Trowch* eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel y'ch achuber."
Hos. vi. 1. "Deuwch, a *dychwelwn* at yr Arglwydd."
xiv. 1. "*Ymchwel*, Israel, at yr Arglwydd dy Dduw."
Jer. iv. 1. "Israel, os *dychweli*, *dychwel* ataf fi, medd yr Arglwydd," &c.

Defnyddir amryw o ymadroddion cyffelyb yn yr un ystyr yn y ddau Destament, megys,—

"Galw ar enw yr Arglwydd." (Joel ii. 32. Act. ii. 21.)
"Gobeithio yn ei enw ef." (Esai. xi. 10. xlii. 4. Mat. xii. 21. Rhuf. xv. 12.)
"Ymffrostio yn yr Arglwydd." (Jer. ix. 24. 1 Cor. i. 31.)
"Credu yn Nuw." (Gen. xv. 6. Rhuf. iv. 3.)

Ac y mae mor sicr ag y gall unrhyw beth fod, mai yn yr un ystyr y deallir yr ymadroddion "troi" a "dychwelyd at yr Arglwydd" yn y ddau Destament a'u gilydd. Gwel Luc i. 16. Mat. xiii. 15. Marc

---

* Teimla A. Campbell yn fwy tyner at "y gwŷr eglwysig" a'r "sectiau" pan y dysgant adenedigaeth fedyddiadol, a bedydd er glanhad oddiwrth bechodau; oblegyd dyfyna o honynt, o Barnabas yn y ganrif gyntaf, i lawr hyd at Gyffesiadau Ffydd enwadau crefyddol y dyddiau hyn, pan y tybia eu bod yn dysgu ei olygiadau ef! Gwel *Maddeuant Pechodau*, tudal. 46—59.; *Christian Baptism*, pp. 261—273.

iv. 12. Act. ix. 35. xi. 21. xiv. 15. xv. 19. xxvi. 18. 20. 2 Cor. iii. 16. 1 Thes. i. 9. 1 Pedr ii. 25.

Yn Luc xxii. 32. a Iago v. 19, 20. ceir yr un ferf am adferiad rhai ag oeddynt eisioes yn ddysgyblion bedyddiedig; ac eglur yw nas gall olygu trochiad y corph yn yr engreifftiau hyn, fwy nag mewn llu o'r engreifftiau ereill.

Defnyddir rhai o ymadroddion yr Hen Destament mewn ystyr uwch, ardderchocach, a mwy ysbrydol yn y Testament Newydd nag yn yr Hen, megys,—

*Judah.* (Rhuf. ii. 28, 29.)
*Israel.* (Ioan i. 47. Gal. vi. 16.)
*Teml.* (1 Cor. iii. 16. vi. 19. Ephes. ii. 21, 22.)
*Offeiriaid.* (1 Pedr ii. 5. 9. Dad. i. 6. Cymharer Rhuf. xii. 1. Heb. xiii. 15.)

Ond pe byddai dysgeidiaeth A. Campbell yn gywir, byddai yr apostolion, yn lle ymgodi oddiwrth y materol at yr ysbrydol, yn di-eneidio a daearoli un o ymadroddion pwysicaf yr Hen Destament am ddychweliad ysbrydol dyn at Dduw, i olygu trochiad y corph yn unig! Braidd na themtir ni i ofyn i gofleidwyr y fath athrawiaeth eiriau yr apostol i'r Galatiaid :—" A ydych chwi mor ynfyd? wedi i chwi ddechreu yn yr Ysbryd, a berffeithir chwi yr awr hon yn y cnawd?" (Gal. iii. 3.)

Teimlwn yr un anhawsdra i dderbyn darnodiad A. Campbell o ailenedigaeth. Edrycha efe ar y weithred o drochiad fel cwblhad a pherffeithiad y gorchwyl *(process)* o aileni, ac am hyny yn cael ei galw ailenedigaeth.

"*Adenedigaeth, gan hyny, yw y weithred o eni.* Y mae gan hyny yn gyssylltiedig bob amser â dwfr. Mae galw derbyn unrhyw ysbryd, neu ddylanwad, neu weithred, neu effaith ar galon dyn, yn ailenedigaeth, yn gamddefnydd o bob iaith, yn ogystal ag yn wyriad oddiwrth eiriadaeth yr Ysbryd Glân, *yr hwn nid yw yn galw un peth yn adenedigaeth bersonol, ond y weithred o Drochiad.*"—*Maddeuant Pechodau,* tudal. 28.; *The Christian System,* by A. Campbell, p. 215.

"Pan y llefarwn yn ieithwedd gywir yr oraclau Dwyfol ar y pwnc hwn, rhaid i ni osod allan *geni drachefn* (Ioan iii. 5.) ac *adenedigaeth* (Titus iii. 5.), fel yn perthyn i'r weithred o drochi yn unig."—*Christian System,* p. 289.

Credwn ninnau hefyd mai bedydd a olygir wrth "olchiad yr adenedigaeth" yn Tit. iii. 5., ond nid yn yr un ystyr ag yr esbonia A. Campbell ef. Mae efe yn edrych ar y gair "adenedigaeth" fel gair cyfystyr â "golchiad" ac eglurhaol o hono *(genitive of apposition),*

tra mae yn eglur i ni mai cyssylltiad perthynasol yn unig sydd rhyngddynt, a bod y gair adenedigaeth yn *genitive of relation*, ac yn dynodi y cyfnewidiad ysbrydol ac adnewyddiad natur foesol dyn a flaenora y golchiad. Am yr un rheswm, ceir *bedydd addysg* (nid "athrawiaeth bedyddiadau,") am *fedydd ar ol addysg*, yn Heb. vi. 2., a *bedydd edifeirwch* am *fedydd yn dilyn edifeirwch*, yn Marc i. 4. Gwel tudal. 201.

Ymddengys i ni fod y gair ailenedigaeth, neu adenedigaeth, yn ymadrodd ffugyrol, yn gosod allan gyfnewidiad calon a chymmeriad dyn trwy ras; a bod yr ymadrodd "adnewyddiad yr Ysbryd Glân" yn Tit. iii. 5. yn dynodi Awdwr y cyfnewidiad, a'r modd y dygwyd ef oddi amgylch. Mae yr adnewyddiad yn dechreu yn nychweliad dyn, ac yn cael ei ddwyn yn mlaen hyd nes y llwyr newidir yr enaid i ddelw Crist.

Defnyddia Cicero y gair adenedigaeth (Gr. *palingenesia*) am adferiad ei anrhydedd a'i safle iddo ef ei hun, ar ol ei ddychweliad o'i alltudiaeth. Desgrifia Josephus ddychweliad yr Iuddewon o gaethiwed Babilon fel "adferiad ac adnewyddiad (Gr. *palingenesia*) eu gwlad enedigol." (*Antiquities*, *B*. xi. *ch*. 3. § 9.)

Defnyddia Clement o Rufain y gair yn ei Epistol at Eglwys Corinth am adnewyddiad y ddaear ar ol y diluw, er awgrymu y dylasai eglwys Corinth ymadnewyddu trwy edifeirwch, ar ol ei hannhrefn a'i llygredd. (Gwel *Trench's Synonyms of the New Testament*, § xviii.; *Clement of Rome's First Epistle to the Corinthians*, § ix.)

Dygwydda yr un gair (*palingenesia*) hefyd mewn dernyn o waith Irenæus ag sydd ar gael yn yr iaith Roeg, lle y golyga *gyfnewidiad y galon, ac adnewyddiad ysbrydol yr enaid*:—

"Y peth cyntaf," eb efe, "yw i un ymwadu âg ef ei hun, a chanlyn Crist; ac y mae y rhai sydd yn gwneyd fel hyn yn myned rhagddynt at berffeithrwydd, yn gwneuthur holl ewyllys yr Athraw, gan fod yn blant i Dduw *trwy yr adenedigaeth ysbrydol*, (Gr. dia tês *palingenesias tês pneumatikês*), ac etifeddion o deyrnas nefoedd: oblegyd ni annghofir y rhai a geisiant hon yn gyntaf."—*Baptismal Tracts for the Times*, p. 85.

Yn y Testament Newydd, mae y gair "adenedigaeth" (Gr. *palingenesia*), yn cael ei ddefnyddio mewn ystyr uwch, ac yn goblygu gwirioneddau dyfnach, ardderchocach, a gogoneddusach nag yn ysgrifeniadau Cicero a Josephus. Dysga adgyfodiad yr enaid at bethau nefol a santaidd, a dychweliad dyn, fel alltud o wlad bell, yn ol at Dduw; desgrifia ef fel yn adferu ei ryddid ar ol bod yn gaethwas Satan, ac yn cael calon dyner plentyn yn ei fynwes, yn lle caledwch haiarnaidd yr estron euog a gwrthryfelgar, nes y teimla ei hun

fel pe buasai wedi cael ei eni drachefn i fyd newydd, a'i wneyd yn greadur newydd yn Nghrist Iesu.

Defnyddir y gair yn Mat. xix. 28., ni a gredwn, am yr *adnewyddiad mawr* a ddechreuodd Iesu Grist trwy ei weinidogaeth gyhoeddus, i ddwyn yn mlaen pa un y darfu i'r apostolion ymuno âg ef; a'r hwn sydd yn cael, ac i gael, ei ddwyn yn mlaen hyd nes y sylweddolir bwriadau grasol Duw gyda golwg ar y byd hwn. Yn yr ystyr yma, y mae yn gyfystyr â "chreu nefoedd newydd, a daear newydd," yn Esaiah lxv. 17. Mae adenedigaeth yn y Testament Newydd yn gyfystyr â "chreadur newydd," a "chreu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da," a "dyn newydd," (2 Cor. v. 17. Gal. vi. 15. Eph. ii. 10. iv. 24.) a "geni drachefn" neu "oddi uchod," (Ioan iii. 3.) "geni o'r Ysbryd," (Ioan iii. 5, 6.) "geni o Dduw," (Ioan i. 13. 1 Ioan ii. 29. iii. 9. iv. 7. v. 4. 18.) ac "ail eni o had anllygredig," (1 Pedr i. 23.) a chael cyfreithiau Duw "wedi eu hysgrifenu yn y galon." (Heb. viii. 10. Ezec. xxxvi. 26.) A ydyw yn bossibl, mewn difrif, nad ydyw y desgrifiadau bywiog, barddonol, cynnwysfawr, a chyrhaeddbell hyn o waith yr Ysbryd tragywyddol, yn adnewyddu enaid dyn a'i droi at yr Arglwydd, a'i ddwyn i ateb dyben ei greadigaeth, ac ymgodi i urddas ei fodolaeth, wedi'r cwbl yn golygu dim mwy na bedyddiad dyn mewn dwfr! Mae y fath esbonio yn ymddangos i ni fel pe bwriai un lusernau y nefoedd i'r ddaear!

Am yr un rheswm, ymddengys A. Campbell i ni yn camesbonio ffeithiau yn nglyn â hanes Moses ac Israel. Mae bedydd yn symmud dyn i *berthynas ysbrydol newydd* â Duw, eb efe; felly yr oedd bedydd Israel i Moses yn y cwmmwl ac yn y môr, yn eu dwyn i berthynas newydd â Moses, gan mai ar agoriad y môr y darfu iddynt mewn gwirionedd ei gydnabod yn arweinydd. (*Debate with Rice*, p. 492.)

Dwg yr hanes ni, modd bynag, i edrych ar bethau mewn goleuni gwahanol. Yr oedd yr Israeliaid wedi cael eu dwyn i gydnabod Moses fel eu harweinydd trwy y gwyrthiau yn ngwlad yr Aipht; argyhoeddodd y rhai hyn hwynt o'i Ddwyfol anfoniad, *a* HWY *a ddygasant Israel i berthynas newydd â Moses.* Cadarnhad o'r berthynas hòno oedd gwyrthiau y Môr Coch, a *chydnabyddiaeth o berthynas ag oedd yn bodoli eisioes* oedd bedydd y Môr Coch, fel y mae bedydd y Cristion yn broffes a chydnabyddiaeth gyhoeddus ei fod yn flaenorol wedi rhoddi ei hunan i'r Arglwydd Iesu.

### III. Y Defnydd Ysgrythyrol o'r geiriau "Bedyddio i," neu "er," ("Baptizo eis.")

Gan y gosodir cymmaint o bwys ar yr arddodiad *eis* (er) yn nglyn â bedyddio yn Act. ii. 38. dodwn yma restr gyflawn o'r geiriau

*baptizo eis* (bedyddio i) yn y Testament Newydd, gan ymdrechu hefyd roddi yr ystyr yn mhob lle yn ol y cyssylltiadau a chyssondeb y ffydd.

1. *Yr ymadrodd hwn yn gosod allan y weithred o fedyddio, fel suddiad i'r elfen.*

"Ac efe a fedyddiwyd gan Ioan yn yr Iorddonen," (Gr. *baptizo eis*, a suddwyd i'r Iorddonen. Marc i. 9.)

2. *Yr ymadrodd yn gosod allan ddyben neu amcan moesol y weithred.*

1. Yn ei gyssylltiad â pherson, er arddangos proffes o ffydd ynddo, ufydd-dod iddo, ac ymlyniad wrtho.

Mat. xxviii. 19., "Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl Genedloedd, gan eu bedyddio hwy yn (Gr. *baptizo eis*, gan eu bedyddio i) enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân."
Act. viii. 16., "Yr oeddynt yn unig wedi eu bedyddio yn (Gr. *baptizo eis*, bedyddio i) enw yr Arglwydd Iesu."
Act. xix. 5., "A phan glywsant hwy hyn, hwy a fedyddiwyd yn (Gr. *baptizo eis*, a fedyddiwyd i) enw yr Arglwydd Iesu."
Rhuf. vi. 3., "Oni wyddoch chwi, am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i (Gr. *baptizo eis*) Grist Iesu, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef?"
1 Cor. i. 13. 15., "Ai yn enw (Gr. *eis*, i enw) Paul y'ch bedyddiwyd chwi?
Fel na ddywedo neb fedyddio o honof fi yn (Gr. *baptizo eis*, fedyddio i) fy enw fy hun."
1 Cor. x. 2., "A'u bedyddio hwy oll i (Gr. *baptizo eis*) Moses, yn y cwmmwl, ac yn y môr."
Gal. iii. 27., "Canys cynnifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist (Gr. *baptizo eis*, a fedyddiwyd i Grist), a wisgasoch Grist."

2. Yn ei gyssylltiad â chyfundrefn, er arddangos crediniaeth y bedyddiedig ynddi, a'i dderbyniad o honi.

Mat. iii. 11., "Myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio chwi â (Gr. *en*, mewn) dwfr i (Gr. *eis*) edifeirwch."

Hyny yw, *gyda golwg ar edifeirwch*, i'r broffes o edifeirwch a diwygiad, yr hyn oeddynt wedi ei ddechreu yn flaenorol i'w bedydd. Cymharer adn. 6.

Marc i. 4., "Yr oedd Ioan yn bedyddio yn y diffaethwch, ac yn pregethu bedydd edifeirwch, er (Gr. *eis*) maddeuant pechodau." (Luc iii. 3. Act. xiii. 24. xix. 4.)
Act. ii. 38., "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er (Gr. *eis*) maddeuant pechodau."

Hyny yw, *gyda golwg ar* faddeuant pechodau, *i'r broffes* o'r grefydd hòno ag sydd yn sicrhau maddeuant pechodau i bob credadyn trwy farwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Iesu Grist, yr hyn a ddelweddir yn y weithred o fedyddio.

Act. xix., "I (Gr. *eis*) ba beth gan hyny y bedyddiwyd chwi? Hwythau a ddywedasant, I (Gr. *eis*) fedydd Ioan."

Hyny yw, er proffesu cydffurfio â'r dyledswyddau a ddysgid yn ngweinidogaeth Ioan, y rhai a arwyddlunid yn ei fedydd, yn yr hwn y proffesai dynion eu hedifeirwch am eu pechodau blaenorol, ac yr ymrwyment i arwain bywyd santaidd yn y dyfodol.

3. Yn ei gyssylltiad â marwolaeth Crist, fel cynllun efelychiad y Cristion.

Rhuf. vi. 3., "Oni wyddoch chwi am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef (Gr. *baptizo eis*)."

Hyny yw, i ymrwymiad proffesedig i weithio allan yr egwyddorion a arddangoswyd yn marwolaeth Crist, sef dinystr pechod, a lledaeniad santeiddrwydd.

4. Yn ei gyssylltiad â chrefydd gymdeithasol y bedyddiedigion.

1 Cor. xii. 13., "Oblegyd trwy un Ysbryd y bedyddiwyd ni oll yn (Gr. *baptizo eis*, i) un corph."

Hyny yw, fel ag i ffurfio un corph o waredigion Duw, un gymdeithas santaidd, er cadw coffadwriaeth o'i enw, a dwyn ei waith yn mlaen yn y byd.

Mae yn wir ddrwg genyf fod yr ymchwiliad presennol wedi cadarnhau yr argraffiad ag oedd ar fy meddwl er's blynyddau, sef fod athrawiaeth Alexander Campbell ar "Ddyben Bedydd" yn wyriad pwysig oddiwrth y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu. "Y neb a ddarlleno, ystyried!"*

---

* Yn gyffelyb y teimlai y diweddar Barch. William Jones, M.A., wrth ddarllen gweithiau A. Campbell:—"I now turn to the debate between Messrs. Campbell and Rice. My chief concern was to know how far the suspicions which had forced themselves upon me, of Mr. Campbell's unsoundness in the faith of the gospel were well or ill-founded; and a careful examination of the whole left me no room any longer to doubt of his heterodoxy!"—*Autobiography of the late William Jones, M.A.*, Author of the "History of the Waldenses," "Biblical Cyclopædia," "Ecclesiastical History," &c. Edition 1846.

## II.

### BEDYDD A CHYMMUNDEB.

ORDINHAD sydd yn *arwain i'r eglwys* yw bedydd; ordinhad i rai *yn yr eglwys* yw cymmundeb; o herwydd hyny, nid oes gan y difedydd hawl i gymmundeb. Beiïr y Bedyddwyr am yr hyn a elwir "Cymmundeb caeth;" ond nid ydyw eu collfarnwyr yn gwneyd tegwch â hwynt. Ystyria y Bedyddwyr nad *barn* a *theimlad dyn* sydd i benderfynu pwy sydd i amgylchu bwrdd yr Arglwydd, ond *gair Duw*, ac *arferiad yr apostolion*. Yn y gair, canfyddant

1. Fod edifeirwch a ffydd i flaenori bedydd. (Act. ii. 38. Marc xvi. 16. Act. viii. 37.)

2. Mai trwy drochiad y mae bedyddio. (Mat. iii. Ioan iii. 23. Act. viii. 36—39. Rhuf. vi. Col. ii.)

3. Fod bedydd i flaenori tori bara. (Act. ii. 41, 42.) Nid oes engraifft i'w chael yn y Beibl am neb yn cael cymmundeb cyn derbyn bedydd. Mae bedydd fel arwyddlun ein genedigaeth i'r eglwys, a swper yr Arglwydd fel arwyddlun o'r ymborth â'r hwn y cynnelir ni.

4. Fod bywyd duwiol, (1 Cor. v. 11. 13. 2 Thes. iii. 6.) a hunan-ymholiad, (1 Cor. xi. 28.) a iawngredaeth yn ngwirioneddau sylfaenol Cristionogaeth, (Gal v. 12. Phil. iii. 2. Tit. iii. 10. 1 Ioan ii. 22. Dad. ii. 14, 15.) yn hanfodol er rhoddi hawl a chymhwysder i gymmundeb.

Yn awr, y rheswm paham nad ydyw y Bedyddwyr yn gyffredin yn derbyn taenellwyr i'w cymmundeb yw yr hyn a ganlyn :—

1. Nid ydynt yn credu fod taenellwyr wedi eu bedyddio yn ol yr efengyl, oblegyd nid ydyw taenelliad yn fedydd.

2. Pe buasent wedi cael eu trochi yn eu babandod, nid ordinhad Crist fuasai hòno, am na ordeiniodd Crist *fedydd babanod*. Ni fuasai un rhinwedd yn eu bedydd, gan nad oeddynt yn ymostwng yn ewyllysgar, gyda meddwl goleuedig, oddiar egwyddor o ffydd a chariad.

3. Am ei bod yn ddyledswydd ar eglwys Dduw i gadw yr ordinhadau megys ag y traddodir hwynt i ni yn yr Ysgrythyr. (1 Cor.

xi. 2. 2 Thes. ii. 15. 1 Tim. iii. 15. Esai. viii. 20.) Mae cymmuno yn annhrefnus yn ddiystyrwch ar "eglwys Dduw," i'r hon yr ymddiriedwyd cadwraeth yr ordinhadau. (1 Cor. xi. 22.)

Nid oes gan enwadau ereill le i feio y Bedyddwyr yn hyn, gan na dderbynia ereill Grynwr i'w cymmundeb hwythau; ystyria y Bedyddwyr fod taenellwyr mor ddifedydd ag yr ystyriant hwythau y Crynwr. Y pwynt yw, Pa fodd y mae bedyddio? a Phwy yw deiliaid yr ordinhad? O ran "cymmundeb caeth," mae taenellwyr mor "gaeth" a'r Bedyddwyr.

Sylwn yn fyr ar y prif wrthddadleuon a ddygir yn mlaen yn erbyn cyfyngu cymmundeb i gredinwyr bedyddiedig:—

I. Dywedir fod y Bedyddwyr yn cydaddoli âg ereill, yn cydweddio, yn cydganu, &c., a gofynir, *Paham na wnant gydgymmuno ar yr un tir?* Sylwer *mai gwasanaeth crefyddol o fewn cylch gosodiadau pendant yr Arglwydd Iesu yw cymmuno, a rhaid cydymffurfio âg ef yn ol y llythyren, o ran y* TELERAU BLAENOROL, *yn ogystal a deddf sefydliad yr ordinhad.*

Cydnabyddwn gyda chydwybod bur gredinwyr yn mhlith cyfundebau ereill fel brodyr yn yr Arglwydd Iesu; ac ar y tir hwnw, yr ydym yn achlysurol yn cydweddio, yn cydfoliannu, a chydbregethu gyda hwynt, gan ein bod wrth wneyd hyn yn sefyll ar esgynlawr ëang trugaredd achubol Duw yn Nghrist, ac yn ymwneyd â dyledswyddau moesol ei deyrnas, y rhai nad ydynt yn dwyn cyssylltiad *neillduol* â'r eglwys fel corph neillduol. *Yr oedd canu, gweddio, a'r cyffelyb, yn ddyledswyddau cyn sefydliad bedydd, a buasent yn parhau yn ddyledswyddau pe na sefydlasid eglwysi Cristionogol yn y byd.* Yr ydym gan hyny yn gallu cyduno âg ereill mewn dyledswyddau fel hyn heb ymwrthod â'r egwyddorion neillduol a goleddwn. Pan y deuwn, o'r ochr arall, at ordinhadau yr efengyl, yr ydym yn dyfod i dir gosodiadau pendant, y rhai nas gallwn eu newid er mwyn cydweithrediad âg ereill, nac aberthu ein golygiadau o barthed iddynt er mwyn ennill eu hewyllys da. Byddai symmud o'r tir hwn yn cynnwys aberthu argyhoeddiad dwys o'n tu ni, tra na fyddai cydgymmuno â ni, neu â'u gilydd, yn gofyn un aberth oddiar law aelodau gydag enwadau ereill. Pe yr edrychai y rhai a wahaniaethant oddi wrthym ar y pwnc yn y goleu hwn, credwn y dysgent ein "goddef mewn cariad," ac na wnaent mwyach briodoli effaith argyhoeddiad dwfn a goleuedig o ddyledswydd, i ddylanwad rhagfarn disail a chulni annghristionogol.

II. Dywedir *y bydd i ni gymmuno âg enwadau ereill yn y nef, ond na wnawn ar y ddaear.* Ni fydd cymmundeb y nef, yr un fath ag sydd

ar daenellwyr eisieu ar y ddaear. Bydd swper yr Arglwydd wedi darfod pan gyrhaeddwn yno, am mai peth yn perthyn i'r ddaear ydyw. Yn y nef, bydd yr holl breswylwyr yn mwynhau cymdeithas ysbrydol,—gan gydymdeimlo â'u gilydd yn eu gwaith, a llawenychu yn nedwyddwch eu gilydd. Yr ydym yn mwynhau cymdeithas fel hyn â thaenellwyr duwiol yn awr, ond nid ydyw hyny yn ein cyfiawnhau i droseddu deddf swper yr Arglwydd. *Ni sefydlwyd y swper i fod yn brofiedydd cariad brawdol rhwng y gwahanol enwadau, ond er meithrin grasusau credinwyr bedyddiedig, wrth gofio am angeu Crist.*

Mae'n eglur na sefydlwyd Swper yr Arglwydd i'r dyben i fod yn foddion i Gristionogion ddangos eu hyder yn eu gilydd, a'u cariad at eu gilydd, oblegyd, pe felly, (1,) nis gallai dyn cydwybodol byth gydgymmuno â brawd dyeithr iddo, â'r hwn y byddai yn anadnabyddus; ac (2,) am y dywedir yn bendant mai ei amcan arbenig yw, nid dangos cariad brawdol, ond "*dangos marwolaeth yr Arglwydd* hyd oni ddelo." (1 Cor. xi. 26.) Cymharer, modd bynag, tudal. 243.

III. Dywedai yr enwog Moses Stuart y dylid derbyn y difedydd i gymmundeb, ac na ddylem fod yn rhy selog dros ddefodau allanol, gan gyfeirio, fel awdurdod, at waith yr Iuddewon yn bwyta y Pasc, heb ymsanteiddio. (2 Chron. xxx. 18—20.) Ond yr hyn a ellid ei gasglu yn naturiol oddiwrth yr hanes yw hyn, sef,

1. Fod cyflawni rhai defodau yn ofynol er cymhwyso dyn i ymwneyd â rhai ereill, fel y mae ymostwng i fedydd yn un o'r cymhwysderau i gyfranogi o swper yr Arglwydd. Yr oedd bod yn enwaededig yn gymhwysder hanfodol i fwyta y Pasc. (Ecsod. xii. 48.)

2. Pan y troseddir y rheol hon, y dylid gofyn maddeuant am y trosedd. "O herwydd llawer o'r bobl, sef llawer o Ephraim a Manasseh, Isaachar, a Zabulon, nid ymlanhasent; eto hwy a fwytasant y Pasc, *yn amgenach nag yr oedd yn ysgrifenedig.* Ond Hezeciah a weddiodd drostynt hwy, gan ddywedyd, Yr Arglwydd daionus a *faddeuo* i bob un a barotôdd ei galon i geisio Duw, sef Arglwydd Dduw ei dadau, er na lanhawyd ef yn ol puredigaeth y cyssegr." A ewyllysiai y difedydd gael ei dderbyn i gymmundeb gyda'r Bedyddwyr, ac i'r gweinidog ofyn ar y diwedd i'r Arglwydd faddeu iddo am beidio cymmeryd ei fedyddio yn ol deddflyfr teyrnas Crist!

IV. Clywir yn fynych, pan fyddis yn collfarnu defodaeth yr oes, *fod dynion yn selog dros ddefodaeth i'r graddau y maent yn colli ysbrydolrwydd crefydd.* Y mae hyn yn hollol gywir pan y mae y sel yn ffafr traddodiadau dynion; ond y mae sel oleuedig a santaidd dros roddi

eu lle priodol i fedydd a swper yr Arglwydd yn brawf o gariad at y gwirionedd, ac nid o ddirywiad mewn gras. Yr oedd Paul yn canmol y Corinthiaid a'r Thessaloniaid am ddal a chadw y traddodiadau apostolaidd, gan fod y rhai hyny yn ysbrydoledig, (1 Cor. xi. 2. 2 Thes. ii. 15.) tra y taranai yn erbyn defodau dynol. (Gal. i. 8. v. 2.)

V. Dysgir weithiau y dylid derbyn y difedydd i gymmundeb er mwyn hunanles enwadol *(expediency)*, fod Paul wedi enwaedu Timotheus er mwyn hyny, ac y byddai derbyn y cyfryw yn fanteisiol i lwyddiant y Bedyddwyr.

Gyda golwg ar enwaediad Timotheus, sylwer:—

1. Fod Duw wedi sefydlu yr enwaediad, ond na sefydlodd erioed daenelliad ar fabanod.

2. Yr oedd Timotheus yn Iuddew o du ei fam, ac felly yr oedd yn beth hollol gyfreithlon i'w enwaedu.

Arwydd o gyfammod gwladol rhwng Duw a'r Iuddewon oedd yr enwaediad; yr oedd Duw wedi addaw Canaan iddynt, ac yr oeddynt hwythau i ymarfer enwaediad er cydffurfio â thelerau y cyfammod. (Gen. xvii. 1—14. Act. vii. 8.)

3. Tra y gwrthwynebai Paul i'r *Cenedloedd* gael eu henwaedu, ni waharddai i *Iuddewon* cydwybodol arfer enwaediad, os ystyrient ei fod yn rhwymedig arnynt.

4. Tra nad oedd dim yn groes i air Duw yn enwaediad Timotheus, yr oedd enwaedu arno yn foddion i'w wneyd yn fwy defnyddiol fel efengylwr yn mhlith yr Iuddewon.

5. Er fod Paul yn dysgu nad oedd enwaediad yn un fantais i gael bywyd tragywyddol trwy Grist, na dienwaediad yn un anfantais, nid oedd yn dweyd yn ei erbyn fel sefydliad cenedlaethol perthynol i'r Iuddewon yn unig.

Yn raddol, mae'n dra thebygol, fel y deuai eu hamgyffredion yn fwy eglur am ysbrydolrwydd teyrnas y Messiah a natur gysgodol yr hen gyfammod, y darfu i'r Cristionogion Hebreaidd adael heibio enwaediad, cadw y seithfed dydd yn Sabbath, y gwyliau, &c.

Ni ellir dweyd yr un o'r pethau hyn am daenelliad ar fabanod, ac nid oes yma yr un rheswm dros dderbyn y difedydd i gymmundeb.

Gyda golwg ar y byddai ymarferyd rhydd gymmundeb yn fantais i gynnydd y Bedyddwyr, a llwyddiant eu hegwyddorion, cofier

1. Na ddylai awydd am lwyddiant ein dwyn i droseddu deddfau Crist. Os ydyw'r Beibl yn caniatâu cymmundeb i'r difedydd, fe

ddylai drws yr eglwys fod yn agored i'r cyfryw; ond gan nad yw, rhyfyg yw llygru gosodiadau Crist er mwyn ennill rhai anufydd i fedydd Crist i gymmundeb.

2. Nad ydyw rhydd gymmundeb wedi bod yn ffafriol i lwyddiant egwyddorion y Bedyddwyr. Yn Nghymru cedwir at yr hyn a elwir cymmundeb caeth; yn Lloegr arferir cymmundeb cymmysg mewn llawer o leoedd; ond y *mae Bedyddwyr Cymru wedi cynnyddu yn y tri ugain mlynedd diweddaf, yn agos gymmaint deirgwaith ag mae Bedyddwyr rhydd-gymmunol Lloegr wedi cynnyddu yn yr un cyfnod.* Cymharer cynnydd Bedyddwyr Lloegr â llwyddiant Bedyddwyr America. Ymffrostia llawer o Fedyddwyr Lloegr eu bod yn rhydd gymmunwyr; ond beiant y Bedyddwyr Americanaidd am eu bod yr hyn a elwir cymmunwyr caeth. Yn 1636, y sefydlwyd eglwys gyntaf y Bedyddwyr yn Ngogledd America yn Rhode Island; yr oedd amryw eglwysi y pryd hyny yn Lloegr; yn 1862, rhifai Bedyddwyr Rheolaidd America 1,037,576 o aelodau, (neu os cymmerir yr holl enwadau sydd yn bedyddio trwy drochiad, eu rhif oedd 1,609,284;) tra nad oedd holl Fedyddwyr Prydain Fawr, yn 1862, ond 133,931 o aelodau. Erbyn 1881, rhifai Bedyddwyr Rheolaidd America 2,336,022; a Bedyddwyr Prydain, yn cynnwys Lloegr, Cymru, Ysgotland, a'r Iwerddon, ond 276,356. Dengys *ffeithiau* mai y Bedyddwyr sydd yn ffyddlon i'w hegwyddorion sydd yn llwyddo oreu.
Yr oedd yr eglwysi a blanodd Vavasor Powell yn Nghymru gan mwyaf yn ymarferyd cymmundeb cymmysg, ond y maent yn awr, braidd oll, os nad pob un o honynt, wedi dyfod yn daenellwyr hollol, a gweinidogion taenellwyr arnynt.

VI. Cyfeirir at Rhuf. xiv. er dangos fod yr apostol yn dysgu y saint i gydoddef eu gilydd, er na allent gydweled â'u gilydd ar wahanol bethau. Ond sylwi ar eiriau Paul, fe ymddengys y pethau canlynol yn eglur:—

1. Fod Duw wedi derbyn y pleidiau. (adn. 3.)

2. Eu bod yn gydwybodol. (adn. 6.)

3. Nad oedd gwahaniaeth barn ar y pethau dan sylw yn dymchwelyd yr un gyfraith Ddwyfol: gwel adn. 17. a'r holl bennod.
Nid felly y mae pethau yn achos rhydd gymmundeb; os ydyw Duw wedi derbyn y pleidiau, ac *os* ydynt yn gydwybodol, y mae y rheol ysgrythyrol yn cael ei thori wrth dderbyn y difedydd at fwrdd yr Arglwydd.

VII. Dywedir yn mhellach mai "Bwrdd yr *Arglwydd* yw bwrdd y cymmundeb, ac nid ein bwrdd ni; ac, o ganlyniad, nad oes genym

hawl i rwystro plant Duw i agoshau at fwrdd eu Tad eu hunain."

Y ffaith mai "bwrdd yr *Arglwydd*" ydyw sydd yn achosi yr anhawsdra i ni dderbyn y rhai difedydd ato, gan nad oes genym NI hawl i ddiddymu yr ammodau a sefydlodd EFE. Os llygrir yr ordinhad, nid "Swper yr *Arglwydd*" ydyw mwyach. (1 Cor. xi. 20.) Pe buasai bwrdd y cymmundeb yn fwrdd i ni, buasem yn ei adael yn agored i'r neb a fuasai yn dewis agoshau ato; ond gan mai ei fwrdd Ef ydyw, yr ydym yn rhwym o edrych a ydyw y rhai sydd yn agoshau ato wedi cydymffurfio â chyfreithiau tŷ Dduw, ac âg ammodau cymmundeb yn ol yr efengyl, megys ag y sylwyd yn flaenorol. (tudal. 275.) Tra mae yr Arglwydd wedi gosod edifeirwch, ffydd, bedydd, ymarweddiad santaidd, iawngredaeth, a hunan-ymholiad fel cymhwysderau a thelerau cymmundeb yn ol y Testament Newydd, nid ydyw ei eglwys ef at ei rhyddid i wneyd i ffwrdd â'r naill na'r llall o honynt fel rhagflaenyddion cyfranogiad o'r ordinhad.

Nid oes un rheswm yn ddigon i'n cyfiawnhau ni i newid trefniadau Crist. Mae yn ddiystyrwch ar ei awdurdod ef i gydnabod dau fedydd yn ei eglwys. Y mae derbyn y difedydd i gymmundeb yr un mor anysgrythyrol ag ydyw derbyn y diffydd i fedydd. Tuedd rhydd gymmundeb yw diddymu bedydd Crist. Tra yr edrychwn ar Gristionogion ereill fel credinwyr cywir a chyfeillion y Gwaredwr, a thra y cydfoliannwn Dduw, ac y cydalwn arno gyda hwynt, *nis gallwn edrych arnynt yn fedyddiedig*, ac o herwydd hyny, byddai yn annghysson ynom i gydgymmuno. Na themtier ni gan hyny i newid trefniadau'r Brenin, ac na fydded i ni droi yn anffyddlon i'n hegwyddorion, o herwydd syniadau cyfeiliornus am ryddfrydigrwydd crefyddol. (*Dr. Howell on Communion. Ripley's Exam. of Stuart*, pp. 147—154. *Fuller's Works*, pp. 854—859.)

---

# III.

## YSTADEGAU AR LEIHAD BEDYDD BABANOD YN AMERICA.

Gadawn i'r Ystadegau canlynol lefaru drostynt eu hunain. Dangosant fod Bedydd Babanod yn diflanu yn gyflym yn mysg yr eglwysi Americanaidd, a bod Bedydd y Crediniol yn cynnyddu yn gyflym yno, yn neillduol yn mysg y Wesleyaid. Yr oedd saith o bob deuddeg o'r rhai a fedyddiwyd gan yr Eglwys Esgobaethol Wesleyaidd yn Ngogledd America, yn 1877, yn rhai mewn oed. Mae y bobl yn dyfod i weled fod eisieu talu ufydd-dod ffydd i Grist yn y bedydd, yn ogystal ag yn mhob rhan arall o'i wasanaeth ef, ac nas gall defod a weinyddir ar ddyn yn ei anwybodaeth, am yr hon y mae yr Ysgrythyr yn ddystaw, fod yn rhan o oruchwyliaeth ysbrydol yr efengyl. Y canlyniad yw, fod Bedydd Babanod yn cael ei esgeuluso, a Bedydd yr efengyl yn dyfod i arferiad mwy cyffredinol yn barhaus. Credwn mai yn y dull hwn y symmudir y llygredd o Fedydd Babanod o'r eglwys gyffredinol, ac yr adferir Cristionogaeth i'w phurdeb apostolaidd. Bydd y naill farw o farwolaeth naturiol, ac ymgyfyd y llall, fel un o'r tystion lladdedig, i brophwydo eto, ac i ddelweddu ger bron y byd ffeithiau mawrion Cristionogaeth, sef marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Iesu Grist.

Dengys yr ystadegau hefyd fel y mae y byd yn newid yn ei syniadau am y Bedyddwyr a'u hegwyddorion. Yn 1554, cawn yr Esgob Bonner, ac yn 1555, yr Esgob Gardiner, yn cynllunio i ddiwreiddio y Bedyddwyr allan o Loegr, a llindagu eu hegwyddorion. Gorphenaf 12fed, 1555, llosgwyd Humphrey Middleton, gweinidog i'r Bedyddwyr, yn Canterbury, am ddysgu ysbrydolrwydd teyrnas Crist a gwirfoddolrwydd gwasanaeth Duw. Medi 2il, 1560, anfonodd y Frenines Elizabeth gyhoeddiad allan fod yr holl Ailfedyddwyr i adael y deyrnas o fewn ugain niwrnod, neu gael eu bwrw i garchar, a cholli eu holl feddiannau. Tachwedd 13eg, 1644, mabwysiadwyd deddf gan awdurdodau trefedigaeth Massachusetts, Gogledd America, (personau ag oeddynt eu hunain yn ffoedigion rhag erlidigaeth yr Esgobaethwyr yn Lloegr!) i gosbi ac alltudio y rhai a ddywedent yn erbyn bedydd babanod. "Rhwymwyd a fflangellwyd" ("*was tied up and whipt*") un dyn tlawd o'r enw Painter, am nacâu i'w blentyn gael ei daenellu. Yn Ngorphenaf, 1651, dedfrydwyd Obadiah Holmes "i gael ei fflangellu yn dda" ("*to be well whipt*") neu dalu dirwy o 30p., am bregethu, bedyddio, tori bara, a gwadu cyfreithlondeb bedydd babanod; cyflawnwyd y ddedfryd trwy fflangellu Mr. Holmes gyda'r creulondeb a'r barbareidd-dra mwyaf. Ei holl drosedd oedd beiddio addoli Duw yn ol trefn y Bedyddwyr, ac nid yn ol arferiad Puritaniaid a Chynnulleidfaolwyr Lloegr Newydd! Gwel *Dr. Cramp's Baptist History*, (London, 1868,) pp. 229—233, 444—450; *Ivimey's History of the English Baptists*, chaps. iii—vi; *Dr. Benedict's General History of the Baptist Denomination*, (New York, 1860,) pp. 368—378.)

Yn awr, diolch i Dduw, mae haul rhyddid yn tywynu ar Loegr ac America; a chyn hir ni arddelir un ordinhad, fel defod grefyddol, ond sydd â'i sail yn y Testament Newydd.

I.—YR EGLWYSI HENADURIAETHOL. (1827—1854.)

| Dyddiad. | Cymmunwyr. | Babanod wedi eu Bedyddio. | Rhai mewn oed wedi eu Bedyddio. |
|---|---|---|---|
| Yr Eglwys Henaduriaethol. (O.S.) | | | |
| 1827 | 135,285 | 10,229 | 2,965 |
| 1828 | 146.308 | 10,790 | 3,389 |
| 1829 | 162,816 | 12,171 | 3,982 |
| 1832 | 217,348 | 13,246 | 9,650 |
| 1833 | 233,580 | 14,035 | 6,950 |
| 1836 | 219,126 | 11,089 | 2,729 |
| 1837 | 220,557 | 11,697 | 3,031 |
| 1838 | 177,665 | 10,164 | 2,692 |
| 1839 | 128,043 | 7,712 | 1,644 |
| 1853 | 219,263 | 11,644 | 2,942 |
| 1854 | 225,404 | 12,041 | 3,597 |
| Yr Eglwys Henaduriaethol. (N.S.) | | | |
| 1838 | 100,850 | 4,426 | 1,630 |
| 1853 | 140,452 | 4,032 | 1,715 |
| Reformed Dutch Church. | | | |
| 1853 | 36,597 | 2,394 | 350 |

(Wedi eu casglu allan o Fynegiadau Swyddogol y *General Assembly*, gan y Proffeswr Curtis. Gwel "*The Progress of Baptist Principles in the Last Hundred Years.* By Thomas F. Curtis, Lewisburg University, U.S. Boston, 1857, p. 387.)

II.—YR EGLWYS ESGOBAETHOL WESLEYAIDD. (1864—1868.)

| Dyddiad. | Cyfanrif yr Aelodau. | Babanod wedi eu Bedyddio. | Rhai mewn oed wedi eu Bedyddio. |
|---|---|---|---|
| Yr Eglwys Esgobaethol Wesleyaidd. | | | |
| 1864 | 928,320 | 31,190 | 24,809 |
| 1865 | 929,259 | 32,890 | 20,150 |
| 1866 | 1,032,184 | 35,563 | 47,419 |
| 1867 | 1,146,081 | 42,658 | 59,083 |
| 1868 | 1,255,115 | 46,207 | 67,065 |

(Wedi eu casglu o Fynegiadau Swyddogol yr enwad gan Dr. A. N. Arnold, mewn llythyr yn y *National Baptist, Philadelphia, U.S. March* 11*th*, 1869.)

III.—YR EGLWYSI ESGOBAETHOL A WESLEYAIDD YN 1877.

| Dyddiad. | Cymmunwyr a rhai ar Brawf. | Babanod wedi eu Bedyddio. | Rhai mewn oed wedi eu Bedyddio. |
|---|---|---|---|
| Yr Eglwys Esgobaethol. 1877 ........... | .. 302,069 .. | ... 31,799 ... | .... 8,866 |
| Yr Eglwys Esgobaethol Wesleyaidd (North). 1877 ............ | .. 1,702,137 .. | ... 56,292 ... | .... 76,540 |

(Gwel y *New York Examiner and Chronicle, February 7th*, 1878.)

IV.—EGLWYSI HENADURIAETHOL NEW YORK A PHILADELPHIA YN 1881.

| | Aelodau. | Babanod wedi eu Bedyddio. | Dim manylion am *rai mewn oed wedi eu bedyddio*, ond darllenasom am rai o'r gweinidogion a enwir yn bedyddio cred-inwyr trwy drochiad. |
|---|---|---|---|
| *Eglwysi New York—* | | | |
| Eglwys Dr. John Hall ........ | .. 1,730 .. | .. 21 .. | |
| " Dr. Howard Crosby.... | .. 1,384 .. | .. 17 .. | |
| " Dr. Bevan ............ | .. 1,100 .. | .. 23 .. | |
| " Dr. Robinson (Mem. Ch.) | .. 570 .. | .. 8 .. | |
| " Dr. Talmage .......... | .. 2,471 .. | .. 49 .. | |
| " Dr. Cuyler .......... | .. 1,761 .. | .. 31 .. | |
| " Dr. Ludlow .......... | .. 378 .. | .. 6 .. | |
| " Dr. Van Dyke ........ | .. 571 .. | .. 0 .. | |
| *Eglwysi Philadelphia—* | | | |
| West Arch Street ........ | .. 369 .. | .. 0 .. | |
| Pine Street................ | .. 440 .. | .. 0 .. | |
| Fourth Church............ | .. 230 .. | .. 0 .. | |
| Clinton Street Church...... | .. 150 .. | .. 1 .. | |
| Montgomery Avenue Church | .. 273 .. | .. 1 .. | |
| The Temple Church ...... | .. 350 .. | .. 2 .. | |
| The Central Church ...... | .. 451 .. | .. 5 .. | |

(Gwel *The Freeman, London, January 13th*, 1882. *The National Baptist, Philadelphia, March 23rd*, 1882.)

# DANGOSEG.


Abraham, cyfammod, 209—211
Aderyn, trochi y byw yn ngwaed y marw, 135
Ainon, 47. 50, 51
Americanaidd, yr wrthddadl newydd, 137—149
Apo, yr Arddodiad, 142
" " gyda Bapto, 28, 29
Apocrypha, Baptizo yn yr, 150—152
Armeniaid, yr, dull bedydd yn eu plith, 106
Awdurdod uchaf, yr, ar Baptizo, 34

Babanod, Bedydd, yn cael ei seilio ar Fedydd Proselytiaid, 3
" " ar draddodiad apostolaidd, 227
" " ar ddeddf yr enwaediad, 208
" " heb awdurdod Cynghor cyn dyddiau Awstin, 233
" " yn cael ei sefydlu trwy ddeddf gan Gynghor Milevi, 233
" " tystiolaeth y Catacombs ar, 234—236
" " yn anysgrythyrol, 237
" " yn fan gwan Protestaniaeth, 238--240
" " ei duedd ymarferol, 241
" " ei ddiflaniad graddol yn America, 281—283
Baptizo, yn golygu dull, 30
" yn ddeilliedig o Bapto, 23. 30
" ei ystyr, 30
" y Geiriaduron ar, 31, 32
" engreifftiau lle y defnyddir ef, 35—38
" yn cael ei ddefnyddio yn ffugyrol, 39. 56, 57. 130
" nad ydyw yn golygu arosiad dan y dwfr, 40
" geiriau ereill am daenellu, tywallt, &c., 84, 85
" y gair goreu i olygu tansuddiad, 84, 85. 147
Bapto, yn golygu trochi, 23—29
" y Geiriaduron ar, 24
" yn golygu lliwio, 23, 24. 27. 128
Bapto yn cael ei ddefnyddio yn ffugyrol, 132—135
" y gwahaniaeth rhyngddo a Baptizo, 23. 28. 30
" ei gystrawiad yn yr iaith Roeg, 28, 29. 85, 86. 133
Bedydd, yn orchymyn pendant, 18
" ei Ddwyfol darddiad, 2
" ei barhad, 10—14
" un dull o'i weinyddu, 18
" dyben a phwysigrwydd, 18. 243—258
" dull bedydd yn yr eglwys gyntefig, 88—90
" Proselytiaid, 3—8
" yr Ysbryd Glân, 11, 12. 42. 57. 128—131
" y gair Cymraeg am, 20—22
" Hanesiaeth, 87—109
" y crediniol, ei duedd ymarferol, 237, 238
Bedydd-dai yn Pisa, Caercystenyn, Rhufain, Ravenna, Venice, Florence, Milan, Paris, &c. 110—118
" Darluniau o Dywalltiad mewn, 118—121
Bedyddfa Eglwys Gadeiriol Tyrus, 34
Bedyddio â dwfr, 44—46
" dros y meirw, 79, 80
Bedyddwyr America, eu dechreuad, cynnydd, a'u rhif, 279
" " yn arfer cymmundeb caeth, 279
Bedyddwyr Cymru, eu cynnydd, 279
" Lloegr, eu cynnydd a'u rhif, 279
Bethabara, 49, 50
Bethesda, Llyn, 61, 62
"Bwrdd yr Arglwydd," 279, 280

Calvin, ei ddylanwad yn dwyn taenelliad i Loegr, 99
Campbell, Alexander, ar ddyben bedydd, 259—274
" " ar ailenedigaeth, 270—272
" " ar ddychweliad at Dduw, 268—270
" " ar fod yn gadwedig, 267
" " ar gyfiawnhad, 264—266

Canaan yn wlad ddyfradwy, 58, 59
Catacombs, y, yn Rhufain, 233
" bedd-argraffiadau yn, 234—236
Ceidwad y carchar, ei fedydd, 68—70. 145, 146. 195
Chase, Dr., 76
Chrysostom yn bedyddio tair mil, 64
Claddu trwy fedydd, 75, 76
Clement o Alexandria, 158. 225
Commisiwn, y, deddf, 195
" cystrawiad, 196, 197
" purdeb a dilysrwydd Marc xvi. 9. 20., 198, 199
Corinthiaid, y, bedyddio, 195
Cornelius, ei fedydd, 68, 69. 194
Crynwyr, y, yn dysgu diddymiad bedydd, 10. 12
Cumming, Dr., a'r Bargyfreithiwr, 240
Cyfammod Abraham, 209—211
" gras, 210
Cyfieithiadau boreuol o Baptizo, 34
Cyfieithiadau Groeg o'r Hen Destament, 36, 37
Cymmanfa Westminster yn sefydlu taenelliad, 100
Cymmundeb gwragedd, 219. 220
Cymmundeb i'w gyfyngu i gredinwyr bedyddiedig, 275—280
Cyprian ar gyfreithlondeb taenelliad, 92—94
" fedydd babanod, 230—233
Cyril o Alexandria, 158, 159

Delitzsch, Dr. 53
Denham, y Cenadwr, a'r Jesuit, 239
Diffaethwch, y, lle y bedyddiai Ioan, 51
Diluw, y, yn arwyddlun o fedydd, 80-82
Dyfrgistiau yn lliosog yn y Dwyrain, 60, 61
Dyfroedd lawer, 122—126
Dysgu, ystyr y gair yn Mat. xxviii. 19. 196—198
Dysgyblion St. Ioan, 173

Eglwys, ystyr y gair, 202
" unrhywiaeth yn mhob oes, 206—208
Eglwys Groeg, 101
" rhif ei dysgyblion, 102
" yn bedyddio trwy drochiad, 102—104
" yn gwrthod ymuno âg Eglwys Rhufain, 103. 105
" yn Rwssia yn derbyn taenellwyr, 105
Eis, yr Arddodiad, 141—144
" " gyda berf syml a chyfansawdd, 138, 139
Ek paidôn, 221—223
Ek, yr Arddodiad, 142
El-Meshra=ymdrochle yn yr Iorddonen, 49
En, yr Arddodiad, 43—47
" " yn dynodi amwisgiad, 46, 47. 143
Enwaediad, 208, 209. 278
Enwaediad Timotheus, 208
Ephesus, y deuddeg dysgybl yn, 63. 182—187
Esô, 141, 142
Esseniaid, yr, 152
Eunuch, bedydd yr, 66. 68. 193

Ffydd, yr unig ras sydd yn cyfiawnhau, 259, 260

Gaza, 68
Geiriau yn cael eu defnyddio i ddybenion newyddion, 19. 148
Gibeon, dyfroedd mawrion, 124
Gihon Uchaf ac Isaf, Llynoedd, 60
Golchi, gwahanol eiriau am, 83
" dwylaw, 52
Golchiadau Iuddewig, 52—57. 150—154
Gorchymyn pendant a moesol, 15—18
Gorweddfeinciau yn y Dwyrain, 55, 56
Godwin, Proff., 40. 147
Gwlith, cyflawnder o hono yn y Dwyrain, 133, 134
Gwisg drochedig mewn gwaed, 136
Gwyleidd-dra gwragedd Dwyreiniol, 160—162

Halley, Dr., 56. 76. 131. 158, 159
Hezeciah, Llyn, 60—62

Iaith Canaan yn amser Crist, 167, 168
Iesu Grist, ei fedyddiad, 49. 191
Ioan Fedyddiwr, hanes, 179
" " ei weinidogaeth, 180
" " yr oruchwyliaeth y perthynai iddi, 181
" " Dwyfoldeb ei fedydd, 2. 7
" " un llai yn nheyrnas nefoedd yn fwy na, 187—189
" " bedyddiadau gan, 190, 191
Iorddonen, ei tharddle, 47
" ei gyrfa, lled, dyfnder, 48
" ymdrochiad y pererinion ynddi, 49, 50
Irenæus ar aileni i Dduw, 223—225

Jerusalem, ei dyfroedd, 59—61
Judith yn ymdrochi, 150—152
Justin Ferthyr, 89. 220—223
" " ar ddynwarediad y diafol o bethau Duw, 163—165
" " yn ddystaw yn nghylch Bedydd Proselytiaid, 6

Lydia, ei bedydd, 194
Llynoedd Jerusalem, 60

Maddeuant pechodau, bedydd er, 260—263. 273
Mathêteuô (dysgu), 197, 198
Môr Coch, bedydd yr Israeliaid yn y, 77—79

Nebuchodonosor yn cael ei drochi mewn gwlith, 132—135
Nestoriaid, y, dull bedydd yn eu plith, 106. 175
" eu hiaith, 175—177
Novatian yn cael ei daenellu mewn afiechyd, 91
" gwrthwynebiad iddo o herwydd ei daenelliad, 91, 92

Ogofeydd yn Nghanaan, 50
Oikos ac Oikia, 213—216
Origen, 130. 227—230
" llygriad ei weithiau, 228

Panoiki (gyda'i holl deulu), 145, 146
Paul, ei fedydd, 68. 127, 128. 194
Pentecost, bedyddio ar ddydd y, 63—65. 192
Pererinion yn ymdrochi yn yr Iorddonen, 49
Plant, ymddygiad y Bedyddwyr at y, 204, 205
" yn yr eglwysi apostolaidd, 218, 219
" Crist yn bendithio, 212
" yn santaidd, 216—218
Proselytiaid, bedydd, 3
" " Hammond, Lightfoot, a Wall ar, 3
" " dim cyfeiriad ato hyd y iv. neu y v. canrif, 4—6
" " yn hollol groes i fedydd Crist, 7
Puredigaeth a bedydd, 155—159
" na ddysga yr efengyl i ddynion buro eu gilydd, 158

Ripley, Dr., ar Rhuf. vi. 4., 75, 76

Sabiaid, y, 173
Salim, 51
Samaria, bedyddio yn, 66. 192
Sandwich Islands, taenellu yn y, 66
Santeiddrwydd teuluol, 216—218
Siloam, Llyn, 60—62
Solomon, Llynoedd, 60
Stuart, Moses, ar Fedydd y Proselytiaid, 8
Syriaeg, y gair, am fedyddio, 166
" " am fedydd, 171
" " am fedyddfa, 171. 175
" Michaelis ar y ferf Syriaeg *amad*, 169
" Geiriaduron Castell, Buxtorf, Shaaf, a Bernstein ar, 170
" y defnydd a wneir o'r gair yn y Testament Newydd, 171
" y defnydd a wneir o hono heblaw yn y Testament Newydd, 171—173
Syriaid, y, dull bedydd yn eu plith, 173, 174

Tadau, y, ar fedydd, 88—90
Taenelliad, ei ddechreuad ar y Cyfandir ac yn Affrica, 90—94
" ei gyfodiad yn Lloegr, 99—101
" yn rhwystr i uniad Eglwysi Groeg a Rhufain, 103. 106
Taenellu, y gair Groeg am, 85
Taenellwyr ar Ddull Bedydd, 71—74. 88
Taliesin, ar ddull bedydd, 96
Tân, bedydd mewn, 130
Teuluoedd, bedyddio, 194, 195. 213—216
Teloogoo, bedyddio yn, 65
Teithio yn y Dwyrain, 67
Tertullian, ar fedydd rhai ieuainc, 226, 227
Trochi deirgwaith, 107—109
" " yn Lloegr, 96—99
" " yn cael ei amddiffyn fel traddodiad, 108, 109
Trochiad, Cynghorau Eglwysig yn Lloegr yn ei orchymyn, 99
Tyrus, bedyddfa yn, 34

Wall, Dr., ar gyfodiad taenelliad yn Lloegr, 99

Xavier yn India, 65, 66

Yezeedees, yr, 174
Ymdrochiadau cyhoeddus yn India, 160, 161
Ymdrochleoedd yn Itali a'r Dwyrain, 59. 69
Ystyron rhai geiriau yn newid, 19, 20. 148
" ereill yn annghyfnewidiol, 19. 148
Ystadegau ar Leihad Bedydd Babanod yn America, 281—283

